Thomas Giles iw hynig:
bwrohenog y llyfr yr hwn.
Prynwid ef gan C D Jones
yn y flwyddin. 1847.
ganwyd fi. yn y flwyddin 1820.
tachwed. yr 8. yn llanafan.
plwyf llanafan. yn swydd
Mynwu. afaes fy medyddio. gan
Abel Evans. yr Merthyr tid fyl.
yr flwyddyn. 1844.

---

ganwyd Margret Giles. dd Mawrth 20.
yn y flwyddyn. 1821.
yn Merthyr tid fyl
yn swydd Morganwg.
bedyddiwd gan William Mills
yn Merthyr

# Y FARW WEDI EI CHYFODI YN FYW:

NEU'R

# HEN GREFYDD NEWYDD.

*The Old Religion anew*

# TRAETHAWD

YN DANGOS

## ANGHYFNEWIDIOLDEB TEYRNAS DDUW.

**CAN CAPT. D. JONES.**

"CANYS MYFI YS ARGLWYDD NI'M NEWIDIR," &c —Malachi.

"A rhai yn wir a osododd Duw yn yr Eglwys; yn gyntaf APOSTOLION, yn ail PROFFWYDI, yn drydydd athrawon, yna GWYRTHIAU: wedi hynny DONIAU I IACHAU, cynorthwyau, llywodraethau, AMRYWIOGAETHAU TAFFODAU."—Paul.

"Eithr pe bai i ni, neu i Angel o'r nef Efengylu i chwi amgen, na'r hyn a Efengylasom i cwi bydded ANATHEMA."—Paol etto.

"Ac efe (Crist) a esgynodd i'r uchelder ac a roddos roddion i ddynion."

"Ac EFE a roddes rai yn APOSTOLION, a rhai yn BROFFWYDI," &c.—Paul fyth.

"Dymunaf ar bob Cymro a wêl y traethodyn hwn ei ddarllen yn bwyllog a diduedd ai farnu (nid cyn ond WEDI ei gymharu) wrth y Gyfraith a'r dystiolaeth, wrth yr hon y bernir ni oll cyn hir; ond ni foddlonaf, i Dduwinyddion y byd eistedd mewn barn arnaf, am na osodwyd hwy yn farnwyr.'—YR AWDWR.

"Profwch bob peth, a deliwch yr hyn sydd dda."—medd Paul.

"Y neb a attebo beth CYN EI GLYWED, ffolineb a chywilydd fydd iddo."—Solomon.

**TRAETHAWD, Rhif. 1af.**

GWRECSAM:
ARGRAFFWYD GAN WILLIAM BAYLEY, HEOL-ESTYN.
1845.

# RHAGYMADRODD.

Un o wrthrychau godidoccaf y bŷd, ïe, prif addurn y greadigaeth, yw, *Meddwl annihynol*, rhôdd y *nef* yw hon i *ddynion*, a'r hynottaf o'i holl roddion: yr hwn nad ymddwn yn gyferbyniol, iw'r rhagrithiwr gwaethaf o'r hîl ddynol! Ychydig, mewn cydmariaeth sydd yn meddu ar yr anian auraidd hon, am nad ydynt yn gwybod ei gwerth; ond yr wyf fi, er yr unig un o hîl Gomer ar a welais yn y wlad) yn honi fy hawl, nid yn unig i gredu, ond hefyd i amlygu yr athrawiaeth a osodir allan yn y traethawd hwn, ïe mae'n ddyledswydd arbenig arnaf gyhoeddi 'r hyn a gredaf yn wirioneddau dwyfol; pêd esgeuluswm hyny ni byddwn ddieuog ger bron fy marnwr. Gwirionedd yw'm cleddyf, gŵn, mae'r, hwn ydw yf." Sy'n cynal fy neheulaw: ei waith Ef yw, am hyny nid ofnaf beth a wnêl dyn i mi!

Ei air ef, yw'r unig reol anffaeledig a hyny heb un esponiad *ffaeledig* arno." A dymunaf ar y darllenydd, gydmaru, yn onest, a diduedd y pethau hyn, (nid wrth Gyffes yr hên dadau,) ond wrth y Gyfraith ar dystiolaeth, oni ddywedant yn ol y gair hwn, hynny sydd am nad oes oleuni ynddynt. Pa un a ydyw y pethau hyn felly? Sydd holi ad pwysig iawn, ac a ddylai gael ei atteb, nid *wedi* ond *cyn* eu cymharu a'r drych cywir; canys y neb a attebo beth cyn ei glywed ffolineb a chywilydd fydd iddo," medd Sol. Dywed Paul, "Profwch pob peth, deliwch yr hyn sydd dda." Na fydded i neb ddyfod i benderfyniad byrbwyll am yr athrawiaeth hon, a herwydd ei bod yn ymddangos yn *newydd* a *dieithr*, canys yr hynaf un o bob athrawiaeth yw; a sicr yw na bydd ddieithr i neb yn yr ail-fyd, os bydd yn hwn.

Cyfrifaf yr hwn a'i *prawf* yn anysgrythyrol, (mewn yspryd addas,) yn *ffrund* penaf, ïe yn wladgarwr dâ; a rhwymaf fy hun i alw y cyfeiliornad yn ol, (wedi ei BROFI felly, y Bibl yn unig, fel mae'n ysgrifenedig, yn rheol) yn y modd mwyaf cyhoeddus. Ond, o'r ochr arall, os condemnia neb ef cyn ei chwilio, gan roddi rhwystrau ar ei ffordd, efe a brawf ei hun yn annoeth ac annhêg, yn wrthwynebwr y gwirionedd; ie yn elyn yw genedl ei hun; a bydded Solomon yn farnwr arno.

Na farner yr athrawiaeth hon yn ôl yr ystoriau disail, a'r mil ond un o chwedlau celwyddog, sydd eisoes wedi gorlifo'r wlad yn erbyn yr enw hwn; canys gallaf *brofi pob* un a glywais etto, yn gelwyddog a disail; a rhoddi hollol foddlonrwydd i bob dyn, a addef un math o brawf.

Ni wna un dyn egwyddorol feio ar fy iaith, os nad yw mor ramadegol; oherwydd na fuom ymhlith Cymry nemawr er yn fachgen; ond wedi bod er's dros ddeunaw mlynedd, bron o hyd, ymysg iethoedd ereill, lle na chlyw'n air o honi; yn enwedig am y saith ymlynedd diweddaf, ni sŵniodd un Cymro dyrtyr fwyn fy ngwlad am awr yn fy nglyst; ac ni allai dim llai na chariad at fy ngwlad, a dymuniad mawr i'm cyd-genedl gael y gwir; ie fel y mae yn yr Iesu, fy nghymell, dan y fath anfanteision; i gynyg iddynt yr egwyddorion hyn, gan wybod eu bod yn wahanol i bob athrawiaeth sydd yn y wlad! Ond gwell genyf anturio ar fy nyledswydd ar gost pob peth, hyd yn nod enw da (yr hwn a gyfrifaf yn well nac aur coeth lawer) ie, os bydd raid rhoddi bywyd hefyd yn offrwm gwirfoddol dros y gwirionedd, nac anturio ar gost cydwybod effro i wyddfod ei hawdwr, i gyfarfod un Cymro, wedi celu y pethau hyn oddiwrtho!!

Gwrecsam, Ebrill 4, 1845.

## "EITHR YN GYNTAF CEISIWCH DEYRNAS DDUW," &c.—Matt. vi, 33.

---

DYMA orchymyn pendant Mab Duw i'w wrandawyr pan ar y ddaear, er's dros ddeunaw can mlynedd yn ol, ac mae mewn grym yn awr, ïe yn ddyledswydd ar bawb ufuddhau iddo. Mae'n orchymyn pwysig, nid yn unig oherwydd ei fod yn eiriau Arglwydd yr Arglwyddi ein Deddfroddwr, ond yn ol eu hymddygiad atto y bernir y rhai oll a'i clywant, (ganddo *Ef* ei hun) ryw ddydd a ddaw. Mae dedwyddwch a gogoniant pob un o hil Adda a fu erioed, sydd yn awr, neu a fydd byth ar y ddaear yn ymddibynu ar eu hufudd-dod i'r gorchymyn hwn.

"Eithr yn *Gyntaf* ceisiwch."—Yn flaenaf o bob peth, yn fwyaf egnïol, ac awyddus i'w chael, ceisiwch hi er pe costiau yr hyn oll a feddych, canys mae eich dedwyddwch, a'ch gogoniant tragywyddol ynglyn a'i chael hi; o ganlyniad dylai ein diwydrwydd yn y gorchwyl fod yn fawr, yn ddiduedd o gonest, fel os cawn hyd i deyrnas Dduw, na foddlonir ni heb ddyfod yn ddeiliaid o honi; ni leshâ i ni ddyfod yn ddeiliaid o ryw deyrnas arall: ni ddywedodd Crist ceisiwch *ryw* deyrnas, ni thâl yr un ond teyrnas *Dduw*.

O ganlyniad mae'n anhepgorol i ni chwilio yn fanwl nes deall fath un yw hi, er ei hadnabod os gwelwn hi, fel na thwyllom ein hunain ac na wrthodom hi pan ei gwelwn.

Yn awr rhoddwch i mi eich meddyliau diduedd, a rhydd, a'ch synhwyrau diragfarn, i chwilio am deyrnas Dduw, ïe, chwiliwn am dani fel am drysorau cuddiedig, gwell yw hi na pherlau Ceylon, nac aur yr India, nid yw y byd a'i gyflawnder ond megis sothach mewn cymhariaeth iddi: mae'n werth cymmeryd trafferth ac ymröad i'w chael. Er y costiodd i mi filoedd i chwilio am dani, yr wyf yn ei chyfrif yn rhataf o bob peth. Cefais ryw gip-olwg arni er yn foreu, fel *diamond* yn disgleirio trwy y dudew gymylau, gorchfygodd fy enaid â chariad atti; am dros ddeunaw mlynedd bûm yn teithio dros holl foroedd a chyfandiroedd y byd o'r bron, gan ddyfal chwilio am dani ar bob cyfleus-

tra, ac etto yr wyf 'n cyfrif i mi gael llôg dâ am fy nhrafferth a thâl am fy amser, ïe ar ei ganfed; a melys yw dweyd i chwi, Oh! Gymry hynaws, yr oes hon a fendithiodd y nefoedd â breintiau mîl gwell na'ch tadau, nad rhaid i chwi geisio yn ofer, canys heddyw mae teyrnas Dduw yn eich plith chwi; ïe, o ras a daioni Duw gellir eich gwneud chwi yn ddeiliaid o'r deyrnas hon ond ceisio, mewn llai o oriau nag y costiodd i mi o flynyddau i chwilio am dani, er i mi trwy weddïau, ymprydiau, a dagrau lawer, ei cheisio. Heddyw, meddaf, ac O na ddywedai fy Meistr nes i bawb ei glywed fel y dywedodd wrth Zaccheus gynt, "*Heddyw daeth iachawdwriaeth i'r tŷ hwn.*" Pwy a'i derbyn? Pwy yn eich plith, O Gymry, a anturia ddyfod allan i'r byd gyda mi i chwilio am *deyrnas Dduw?* Cofiwch orchymyn ein hathraw, nis gellir ufuddhau iddo neu beidio heb fod yn gyfrifol am hyny. Os gallasoch yn y dyddiau a aethant heibio fod yn esgusodol tan y fantell o anwybodaeth, nis gellwch ymesgusodi yno byth mwy. Gyda sobrwydd yr wyf yn dywedyd y gwirioneddau a barhant byth, "Edifarhewch, canys nesaodd teyrnas nefoedd" unwaith etto i'ch plith chwi!!

Etto rhybyddiaf bob un o honoch ag sydd eisioes yn cydnabod eich dyledswydd i chwilio am y deyrnas ogoneddus y sonir am dani, i fwrw y draul yn fanwl cyn cychwyn, a chyfrif y gost hefyd; rhaid ymbarotoi i ymadael â phob peth er ei mwyn ie, os bydd tad neu fam, brodyr, neu chwiorydd, yn rhwystr; nac anturiwch i chwilio am dani hyd nes byddwch barod i ymwadu â'ch holl feddianau bydol, eich henwau dâ, ïe hyd yn nod eich bywydau hefyd os bydd raid, yn ebyrth gwirfoddol dros y gwirionedd; canys os unwaith y cewch olygfa eglur arni, os cewch gip golwg ar ogoniant a harddwch y deyrnas hon, nis boddlonir chwi nes dyfod yn ddeiliaid o honi.

A phan adnabyddoch Deyrnas Dduw yn ei sefydliad hanfodol ei hun, fe'ch siomir yn fawr, mi debygaf, oherwydd fe ymddengys mor annhebyg i'r un o'r sectau, yr enwadau, neu'r pleidiau sy'n yr oes hon yn cael yr enw hwnw arnynt; fel wedi gweled y naill a'r llall yn ei hansawdd priodol eu hunain, y rhyfeddwch pa fodd y gall un Cymro a fedr ar ei feibl fod mor ddall a chamsynied yr un o enwadau crefyddol yr oes hon am deyrnas Dduw, a hwythau mor annhebyg iddi.

Er mor eglur yr ymddengys teyrnas Dduw, yn nrych yr ysgrythyrau sanctaidd, nis gwn am ddim ag y mae y byd yn fwy rhanedig yn ei gylch; nid yn unig am ei bendithion,

ei rhagorfreintiau, a'r angenrheidrwydd am ei chael: ond hyd yn oed fath un yw yn ei swyddau ai chyfreithiau, ei chynllun a'i sefydliad allanol; mae cynnifer o wahanol farnau am dani o leiaf ag sydd o enwau crefyddol yn y byd, yr hyn a brawf yn amlwg fod teyrnas y Duw byw, yn gystal â llawer o wrthddrychau ereill yn y byd, yn gyfryw, nad ymddengys eu godidawgrwydd a'u harddwch ar yr olwg gyntaf; megis ar y llaw arall mae pethau ereill yn ymddangos yn fwy ardderchog ar yr olwg gyntaf, nag y mae chwiliad manylach iddynt yn dangos eu bod; ac yr wyf fi yn meddwl mai un o'r achosion penaf o'r gwahanol farnau am y gwrthddrych godidog hwn yw, yr arferiad cyffredinol o ysprydoli gormod ar yr ysgrythyrau, a rhoddi dëongliad *prïod* o'r prophwydoliaethau, na feddyliodd yr hwn a'u llefarodd iddynt fod o un dëongliad prïod, ac yn y gorchwyl hwn o chwilio allan deyrnas Dduw, nid âf fi y ffordd hono, ond yn ôl rheol Pedr, "Mae genym air sicrach y prophwydi," &c. 2 Pedr i. 19, 20. "Gan *wybod* hyn yn *gyntaf* nad oes un brophwydoliaeth o'r ysgrythyr o ddëongliad prïod."

Ac yn wir, ond chwilio yn ôl y rheol hon, fe ymddengys y dysgrifiad neu 'r portread o deyrnas Dduw mor eglur yn nrŷch yr ysgrythyrau ymhob oes; ei nerthoedd a'i breintiau lluosog, ei bendithion, a'i ffrwythau rhyfedd ac amlwg yn rhagori mor fawr ar un deyrnas arall yn y byd, fel nas gwn pa fodd y gall un Cymro ymofyngar fethu ei hadnabod, wrth y nodweddau amlwg hyn, na bod mewn amheuaeth yn ei chylch, gan na welwyd erioed, ac ni welir byth, un deyrnas arall yn y byd yn dwyn y ffrwythau a welir yn Nheyrnas Dduw. Ond gan fod cynifer o wahanol farnau gan grefyddwyr yr oes hon ynghylch teyrnas Dduw, a pha beth yw meddwl yr awdwr yn y testyn hwn, fe allai na byddai 'n anfuddiol sylwi yn fanylach arno, chwalu ymaith bob *rubbish* traddodiadol, a dyfod i'r un penderfyniad; a dangos yn eglur fath deyrnas a orchymynodd Crist iddynt geisio. Os gallwn gychwyn yn iawn bydd y darllenydd hôff a minau yn debycach o gyd-deithio ymhellach, yn fwy pleserus a defnyddiol ar y ffordd tua'r deyrnas ogoneddus hon, a byddwn wrth hynny yn debycach o'i chyraedd; a hyn yw fy niben yn ysgrifenu am dani, a bydded i bob darllenydd gonest a diduedd ei chael yw fy nhâer weddi.

Dywed rhai mai y gwynfydedigrwydd a'r llawenydd hwnw a ddysgwilir, pan gyrhaedd ei hysprydoedd drwy eigion yr awyr lâs tu draw i eithafoedd y bydoedd wybrenol, tu hwnt i'r haul a'r seren foreu; ac am a wn i nad ânt tu

hwnt i'r ffurfafen *hon* i chwilio am y deyrnas hono, ond mae'n amlwg na orchymynodd Crist iddynt fyned cyn belled a hyny, ac nis gallent chwaith, oddigerth iddo roddi iddynt adenydd. Dywed ereill mai y llawenydd a'r gorfoledd a deimla pobl Dduw ynddynt eu hunain yn y *bywyd hwn* a feddylir wrth deyrnas Dduw; neu mewn geiriau ereill, rhoddi'r yspryd ar lêd yn êu calonau: a chadarnheir y gosodiad hwn, ganddynt drwy yr hyn a geir yn Luc xvii. 21, "Teyrnas Dduw o'ch mewn chwi y mae."

Ond meddyliaf fod yr adn. hon yn profi i'r gwrthwyneb yn hollol i'r haeriad. Attebiad Crist oedd y geiriau hyn i ofyniad y Phariseaid rhagrithiol a gelyniaethus hynny oeddynt beunydd yn ceisio rhwydo ein Harglwydd fel y gallent ei lâdd ef, (gwêl yr adn. flaenorol,) yna mae y gair *chwi* yn personoli y personau y llefarai wrthynt; ac os oedd Crist yn dweyd fod teyrnas Dduw (sef ei yspryd) yn nghalonau y Phariseaid hyny oeddynt yn ei demtio a'i erlid o hŷd, gwael iawn yr argoelion, onidê. Pe dywedasai Crist fod ei *deyrnas* ef, sef ei *yspryd*, yn nghalonau y Phariseaid, paham y cyhoeddai y fath *Waeau* arnynt mor aml? Beth ynte a ddywed efe?

Mae'n amlwg mai un diben mawr oedd gan Grist yn dyfod i'r byd oedd i osod i fynu ei deyrnas ar y ddaear, ac fe gyfyngodd ei weinidogaeth y'mhlith yr Iuddewon, neu ddefaid cyfrgolledig tŷ Israel yn unig; a chan iddo ddewis ei ddisgyblion o honynt hwy hefyd, addas oedd iddo ddywedyd, am y deyrnas, o'ch mewn chwi y mae, o fewn y genedl Iuddewig, yn eu plith; canys yr oedd y Brenin eisoes yn sefyll yn eu plith, fel y dywedodd Ioan; felly swyddogion y deyrnas oeddynt o honynt hwy, ac ynddynt hwy, h. y. yn eu plith. Gwelwn nad yn yr un o'r ddwy ystyriaeth uchod y llefarwyd geiriau y testyn, a gwell genyf fi goelio y Brenin ei hun na drych-feddyliau neb arall; a phan y dywed efe teyrnas, mae'n meddwl felly, ac yn meddwl y peth a ddywed, sef teyrnas Dduw ar y ddaear, ei Eglwys filwriaethus, ei lywodraeth sefydledig yn ei deyrnas, nid yn ddirgelaidd yn nghalonau ei bobl, nac ychwaith tu draw i eigion yr eigion wybrenol, ond ar y ddaear. Meddyliaf oddiwrth y peth a ddywed yr Iesu yn Luc xiii. 29, fod terynas Dduw yn gyfryw ag y gall dynion eistedd ynddi, a digon o lê iddynt o bedwar cwr y byd.

Mae'n amlwg hefyd mai teyrnas sefydledig ar y ddaear y cyfeiria Crist atti pan ddywedodd wrth Nicodemus, Ioan iii. 5. Yn wir, "yn wir meddaf i ti oddieithr geni dyn

o ddwfr ac o'r Yspryd, ni ddichon efe *fyned* i *mewn* i deyrnas Duw." Hefyd Col. i. 13. "Yr hwn an gwaredodd ni allan o feddiant y tywyllwch, ac a'n *symudodd* ni i *deyrnas* ei anwyl Fab." Gwel. hefyd Mat. xxiv. 14. "A'r efengyl *hon* am *y deyrnas* a bregethir trwy 'r holl fyd, er *tystiolaeth* i'r holl genhedloedd, ac yna y daw y diwedd."

Yr hyn a ddywedwyd uchod a brawf yn ddigonol mai teyrnas sefydledig ar y ddaear a feddyliai 'r testyn: fel mai ofer fyddai helaethu ar y matter hwn. Ac yn y lle nesaf sylwn beth sydd yn gynwysedig mewn teyrnas. Nis gellir sefydlu teyrnas, ar y ddaear mwy nag yn y nêf, heb gael y pedwar peth canlynol, sef, yn—

*Gyntaf.* Rheolwr, neu Frenin i lywodraethu y deyrnas.

*Ail.* Swyddogion wedi eu cymhwyso a'u hanfon gan y Brenin i weinyddu y cyfreithiau.

*Drydydd.* Rheolau, neu Gyfreithiau er rheoli y deiliaid.

*Pedwerydd.* Angenrheidiol hefyd fod mewn teyrnas ddeiliaid i'w llywodraethu.

Yn yr oes hon, fel yn mhob oes o'r blaen, lle bynag y ceir yr holl bethau hyn mewn trefn a bodolaeth yn eu grym prïodol, yno mae teyrnas: ond o'r ochr arall, pa le bynag mae hyd yn oed *un* o'r pethau uchod yn eisiau, neu wedi eu cyfnewid, mae y deyrnas hono wedi myned yn annhrefnus, a difudd; ac nis gall fod mwyach yn deyrnas hyd onid ail sefydlir hi drwy awdurdod Freiniol fel yn y dechreu. Yn yr ystyr yma mae teyrnas Dduw fel teyrnas wladol.

A deliwch sylw craff yn awr!! Pa le bynnag, neu dan ba amgylchiadau bynnag y caffyddoch ddynion a allant hyd yn oed *dystiolaethu* yn ddifrifol eu bod wedi cael eu galw, ac yn cael eu harddel, wedi derbyn eu hawdurdod gan Iesu Grist, na alwch hwy yn gablwyr, a thwyllwyr, a'u gwaradwyddo, heb braidd eu clywed; canys medd, Sol. "Y neb a farno fatter heb glywed y ddwy ochr nid yw ddoeth." Canys felly y gwnaeth y byd bob amser â phobl Dduw, ni fu ganddo un deyrnas yn y byd yn yr oesoedd boreuol, ar na fyddai yn anfon ei swyddogion ei hun bob amser, a phaham na chaff yr un rhyddid yn awr? Ond erbyn hyn meddyliaf fod yr hên anian hono a gauodd y nêf ymhob oes, yn dechreu cynhesu gwythieni y darllenydd; ond na fydd fyrbwyll a thaflu hwn i'r gongl, canys felly y gwnai y Phariseaid, a phawb na fynent ddatguddiedigaethau. Cofia nas gall dy ymddygiad tu ag at hwn wellhau na niweidio mo'r awdwr: llawer llai wrthsefyll holl-

alluog fraich y Jehofah, ac ymaith yr ai o'i ffordd i dir anghof os sefi ar ffordd ei waith Ef.

Na thwyller chwi, ni watwarir Duw, ac nid oes esgus dros i ddynion gymeryd eu twyllo, yn enwedig mewn pethau a berthynant i Deyrnas Dduw, canys mae efe wedi cadw digon o'r ysgrythyrau er dangos fath yw nodweddau ei deyrnas o'r hyn lleiaf, er cymaint sydd yn eisiau o ranau ercill o honynt: nid oes esgus i neb gamgymeryd ei deyrnas; canys pe bai rhyw rai, ie pe bai Angel yn gosod teyrnas i fynu, yn *gwahanu mewn un dim* i'r *cynllun* Apostolaidd, dywedwch nad teyrnas Dduw yw hi, os na byddai 'r un *cyfreithiau* ac *ordinhadau* yn cael eu gweinyddu ynddi, a hynny gan swyddogion sy'n *proffesu* eu bod wedi eu hanfon gan y Brenin. Os cewch y fath deyrnas a hon yn ei phurdeb, heb gymysgedd â thraddodiadau dynion, *ewch i* mewn iddi, mae'n debyg i'r deyrnas y chwiliwn am dani, ac nid oes berygl eich twyllo yn hir yn hon, o herwydd wrth ei ffrwythau yr adnabyddwch hi. Os gwir yw, *yno* yn ddiddadl cewch fwynhau y bendithion a'r doniau hyny a addawodd y Brenin, ac a fwynhawyd hefyd gan ei dinasyddion yn nyddiau 'r Iôr. "Canys myfi yr Arglwydd ni'm newidir," &c.

Os addefwch nad oes yn y Brenin gyfnewidiad na chysgod trôedigaeth, hyny yw addef nad oes yn ei deyrnas gyfnewidiad na chysgod trôedigaeth yn y râdd leiaf mewn un dim, canys os newidiwch chwi un peth, heb ddangos eich hawdurdod i hynny ganddo Ef, yna ar yr un hawl newidiaf innau ryw beth arall, ïe y cyfan o honi: a phaham nas gallwn gyfnewid ei chyfreithiau, yn gystal a'i swyddau? Paham byddaiyn waeth gyfnewid y naill ordinhad neu ei hesgeuluso, yn hollol, na chyfnewid y *cynllun* neu ryw beth arall a osododd y brenin anghyfnewidiol yn ei deyrnas?

Y rhai a fynant gyfnewid ei deyrnas Ef mewn un dim a ddylent gyfnewid ei *henw* yn gyntaf peth, o herwydd rhaid i Frenin anghyfnewidiol gael cyfreithiau anghyfnewidiol i lywodraethu ar deyrnas anghyfnewidiol; ac os addefir fod y Brenin galluog wedi rhoddi *cynllun* ei *deyrnas* erioed, neu wedi sefydlu un math o deyrnas iddo ei hun, nid fath un oedd yw 'r gofyniad yn awr; *deuwn* at hwnnw eto, nac ychwaith paham y rhoes fel ar fel, neu paham na fuasai yn gwneud fel arall; ond dyma 'r pwnc-gwnaeth fel y mynodd ei hun: a'r hyn a wnaeth sydd lawn o râs a daioni; sefydlodd ei deyrnas fel y gwelodd yn oreu, ac fel yr oedd efe ei hun yn frenin perffaith, adeiladodd deyrnas ar ddull a threfn perffaith, am fod ganddo hawl i wneud fel y myno, ac na

ŵyrodd erioed, yna perffaith oedd y cynllun a roes, a pherffaith hefyd oedd y gyfraith a roes i'w gweinyddu ynddi, fel mae Iago, yn ei galw. "Perffaith gyfraith rhyddid"

Fod y Brenin anghyfnewidiol a'i rhoes yn bwriadu iddynt ddilyn y *cynllun* a'r gyfraith sydd amlwg, neu paham rhoes *at all?* Os bu eisiau cyfnewid un o honynt mewn dim o hyny hyd heddyw ar gyfer eisiau neb, yna nid oeddynt berffaith yn eu gosodiad cyntaf: Os dychrynir rhag hyn, rhaid gwadu yr haeriad cyntaf, a hyny fyddai addef holl enwadau crefyddol yr oes, ond *un* yn gyfeiliornus, ac nas gall fod ond *un* o honynt yn deyrnas Dduw: a rhaid chwilio allan o'r cyfan o honynt pa *un* yw *höno*, mae mor ammhosibl fod gan Dduw ddwy deyrnas yn y byd yr un amser yn wahanol i'w gilydd mewn dim, ag ydyw i ddau beth croes yw gilydd fod yn berffaith. *Un ffydd* medd Paul a'r *un* yspryd yn ei dwyn i'r *un* corph. Ond er gweled pa *un* ô'r holl deyrnasoedd crefyddol sydd yn y byd, yw teyrnas Dduw, gwelwn fath un oedd teyrnas Dduw, yna caiff pob un gymharu ei deyrnas ei hun wrth y drŷch cywir; ac yr ydym eisoes wedi profi nad oedd y deyrnas hono a sefydlwyd gan y Brenin ei hun yn gyfnewidiol mwy nag Ef ei hun, nad oes gan neb awdurdod i'w chyfnewid mewn dim, nad teyrnas Duw yw os yw 'n wahanol mewn dim i'r *cynllun* a roddwyd, Gal. i. 7, 9. Faint mwy anmharch a ellir ddangos at un Brenin trwy un modd, na thrwy ŵyro neu gyfnewid ei gyfreithiau neu ei osodiadau gwladol heb genad ganddo? Ac nis gwna neb or gwahanol Eglwysi hôni yr awdurdod hon chwaith, am nad yw y Brenin yn llefaru wrth y naill na'r llall o honynt, ac nid rhyfedd hyn chwaith, o herwydd iddynt, fel y dywed y Prophwydi am danynt, " droseddu y cyfreithiau, cyfnewid yr ordinhadau, a diddymu y cyfammod tragywyddol.

Nid rhaid ond dangos fath un oedd teyrnas Dduw, pan addefwyd hi ganddo Ef yn un oes o'r byd, a hyny a brawf yn uniongyrchol anwrthwynebol un o ddau beth, sef naill a'i fath un a *fydd byth*, neu fod y Brenin wedi cyfnewid! Ond mae anghyfnewidioldeb y deyrnas hon i'w weled wrth y dibenion i ba rai y sefydlwyd hi ar y ddaear erioed, sef er achub eneidiau, dyma un bwried: ac yroedd raid cael y fath drefn â hon yn gywir i atteb y diben hwnw, nid oedd eisiau mwy, nis gallai llai atteb y diben; a'r un diben sydd mewn golwg yn awr, sef iachawdwriaeth; yna rhaid ein hachub ni yn yr oes hon drwy yr un drefn ag yr achubwyd pob un a gawsant eu hachub o ddyddiau ein hen dad Adda hyd y diweddaf a achubir byth. Nid oes ond *un* efengyl! Y

Mae undeb achos ac effaith yn unol â hanfod y Jehovah, yn un o egwyddorion sylfaenol Philosophi: yn cyd uno â holl sefydliadau y bydoedd; ie yn annwrthwynebol. Yna rhaid cael yr un achos i ddwyn yr un effaith yn awr a'r pryd hynny: rhaid cael yr un deyrnas, yn ei sefydliad cyntefig, er iachawdwriaeth eneidiau yn yr oes hon a hono: gwadu hyn fyddai dweyd fod modd achub y naill oes o'r byd yn hawsach, neu a'r wahanol ffordd i'r oes arall, ac nis gellwch brofi hyn chwaith, heb wneud y Brenin yn dderbyniwr wyneb, a dystrywio undeb achos ac effaith. Nid yw Duw dderbyniwr wyneb, ond ymhob oes y rhai a weithredant gyfiawnder sydd gyfiawn. Yna anghenrhaid yw i bob dyn gael yr un fantais, cyn gellir eu hachub trwy 'r un drefn sef yr efengyl, a rhaid iddynt ddyfod yn ddinasyddion o'r un deyrnas hefyd, yna mor angheurheidiol ydyw adnabod y deyrnas hono. Canys medd y Brenin "Fy ffyrdd I sydd yr un." Ac medd arall, "Yn ôl eu gweithredoedd y bernir hwynt."

Os rhoddodd Duw y cyfryw fendithion, doniau, a nerthoedd i ryw oesoedd boreuol trwy ufudd-dod i'w orchymynion, nid yw ei ffyrdd ef yn gyfartal os na ddyry efe y cyfryw fendithion a doniau i bob oes arall a ufuddhant i'r un gorchmynion yn yr un modd ag y darfuant hwy.

Os addawodd Duw ddeunaw can mlynedd yn ol gyfryw fendithion a doniau ar ryw ammodau, i'r rhai hyny, paham na dyry efe y cyfryw fendithion i ninnau os ufuddhawn i'r un ammodau? Onid yr un yw efe, a'i air a bery byth, yna onid yw ei addewidion mewn grym heddyw?

Dymunwn i'r darllenydd ystyried y gosodiad yma yn fanwl, a boddloni ei hun yn ei gylch. Paham nad yw yr un breintiau yn cael eu mwynhau yn awr ag oedd yn yr Eglwys yn nyddiau yr apostolion? Paham nad oes yr un *swyddau?* Paham nad yw pobl yn myned i mewn drwy'r un drws ag yr aeth pob un a aeth i'r deyrnas hono? Paham nad ynt yn dwyn yr un ffrwythau? Deuwch a'ch rhesymau cadarnhaf chwi ddiwinyddion yr oes, attebwch chwi holl broffeswyr y byd, os gellwch ddangos yr achos o'r diffyg mawr hwn! Paham wedi iddo wneud cymaint i'w winllan, a'i phlanu o'r wir wynwydden, ac efe yn dysgwyl iddi ddwyn grawnwin y dug hi rawn gwylltion? Os ydych yn addef fod y gwinllanydd yn anghyfnewidiol, ei ffyrdd yn gystadl. Paham na wna y winwydden ddwyn yr un ffrwythau ag y gwnai y pryd hyny? Haeraf yr holl fyd i brofi o'r Bibl fod y ffrwythau hyny wedi eu rhoddi am ryw amser nodedig, neu fod terfyn i fod arnynt, tu yma i'r orphwysfa

berffaith hono! Ac wedi myned mor fanwl i symud y *rubbish* a'r aflesg o'r ffordd, cawn yma sylfaen gadarn, nas gall holl grefyddau'r wlad, na holl ddynion y byd, ei hysgogi (a'r ysgrythyrau yn unig yn rheol fel maent yn ysgrifenedig) dyma graig yn *foundation*, na siglir mo'ni gan un awel dysgeidiaeth trwy hoced dynion, na chyfrwystra y rhai sy'n cynllwyn i dwyllo; nad ysgogir mo'ni chwaith gan holl biccellau celwyddog a thanllyd yr oes hon.

Yna awn y'mlaen i chwilio ansawdd y deyrnas hon yn fanylach, sef beth yw *Character* ei Brenin, fath un oedd efe? Fath swyddwyr oedd ganddo? Modd y gwneid hwy yn swyddogion? Fath gyfreithiau oedd ynddi? Pa effeithiau oeddynt yn gael ar y deiliaid? Beth ei ffrwythau, &c.? Pan ei gosodwyd yn ei grym. Ond cael cip golwg ar y pethau hyn, nid wy'n meddwl y rhydd y darllenydd yr hanes o'i law nes clywed chwaneg am dani, na chysgu yn esmwyth iawn chwaith nes cael dyfod i mewn i'r un fath deyrnas, drwy'r un drws, a mwynhau 'r un breintiau: canys mae'r Brenin heddyw 'n fyw, am hynny dylai ei weision fod yn fyw hefyd, ac yn ddiwyd.

*Ond yn gyntaf, y* BRENIN—*Fath un oedd efe?*

Ni a gawn ei hanes yn foreu iawn, ei fod yn dyfod yn rhôl y llyfr yr ysgrifenir am dano. Yr oedd yr hen Batriarchiaid, a'r Prophwydi a rag ddywedent ddyfodiad y Brenin hwn y'mron llewygu gan orfoledd a syndod pan gaent gip golwg ar ei ogoniant. Maent yn ei ddysgrifio y'mhob oes fel y person mwyaf nodedig ac anrhydeddus a ymddanghosodd ar ein daear ni eirioed; maent yn sôn am dano fel Llywydd, Tywysog, Brenin, a Choncwerwr gogoneddus, a llawer o ditlau ereill o'r urddas mwyaf, gan ddangos y byddai ei *deyrnas* yn ëang a nerthol, ïe yn llenwi 'r holl fyd ryw dro, a'i lywodraeth yn dragywyddol, &c. Pan oedd Abraham yn crwydro ein hên ddaear ni fe gafodd ei *delescope* anferth i'r iawn *focus* unwaith, a disgleiriodd gogoniant y Brenin hwn trwyddi mor danbaid nes gorfoleddodd yr hen Batriarch ynddo, er ei fod yn bell iawn oddiwrtho pryd hyny, a nesâu a wnaeth hyd ddŷdd yr hen Simeon; ac yr oedd mor danbaid erbyn hyny, nes pan agorodd yr hên ŵr ffyddlon ei amrantau arno, ei ddwyn mewn llewyg i fynwes Abraham i fynegu i dad y ffyddloniaid ddyfodiad ei Fawrhydi i'r byd!

Enoch, a Noah, Dafydd ac Isaiah, a ragwelsant ei ddyfodiad yn eglur, Job, a Daniel, a'r holl brophwydi a gydganent ei anthems gogoneddus Ef, nid yn unig ei fawredd a'i ogoniant, ond hefyd ei waeledd: maent, mae'n wir, yn dywedyd ei fod yn Frenin ardderchog, ond yn Frenin a

ga'i ei wrthod a'i ddiystyru gan ddynion; ac ar ôl yr holl ddisgwyliad mawr am dano, ei fod i gerdded trwy 'r byd yn ddiystyredig ac o'r bron yn anweledig hefyd, oddieithr y driniaeth faleisus a gyfarfyddai arni.—Ac oddeutu amser ei ddyfodiad fel y dywed un Divine enwog mewn iaith arall, Mr. Elaurin, ymddengys fod nid yn unig yr Iuddewon yn llawn o obaith am dano fel gwaredwr mawr, a phrif addurn eu cenedl, ond fod gan y cenhedloedd hefyd ryw dŷb oddeutu yr amser hwnw fod rhyw dywysog anghymharol i godi yn y dwyrain (a rhai oeddynt yn deall mai yn Iudea hefyd) yr hwn oedd i sefydlu math o ymerodraeth gyffredinol. Ond gan fod eu calonau wedi eu dallu gan bortreiadau anghywir o hono Ef, yr hwn oedd dymuniad yr holl genhedloedd, yn bur annhebyg iddo ei hun, nid adnabuant ef pan y daeth, ac o ganlyniad ymddygasant yn greulon iawn tu ag at y Brenin ardderchog hwnw, a ddaeth i osod i fyny yn eu plith y deyrnas odidocaf a fu yn y byd erioed. Ac fe allai na flina y darllenydd os arhoswn dipyn i sylwi ar ddarlyniad yr hwn a enwyd, o'r Brenin anfeidrol hwn. Mae mor ogoneddus! Er ei fod mor groes i ddysgwyliad y byd am dano. Yr oeddynt hwy yn dysgwyl y byddai ganddo fyddinoedd lluosog: a choron a theyrnwialen aur, gorsedd ddyrchafedig, palasau ardderchog, gwleddoedd helaethwych, llawer o foneddigion o uchel waed o'i amgylch, ac amryw sefyllfaoedd o barch i'w dyrchafu hwynt iddynt.

Ond ymddangosodd y Brenin hwn i'r gwrthwyneb i hyn yn hollol, yn lle Coron Aur—Coron ddrain! Am deyrnwialen, rhoed corsen yn ei law mewn gwawd.—Yn lle gorsedd,—Croes! Yn lle palasau—dim lle i roi ben i lawr. Yn lle gwleddoedd godidog i ereill—yn aml yn newynog a sychedig ei hun! Yn lle gweision boneddig, — ychydig bysgotwyr tlodion, a'r rhei'ny nid yn weision ond yn gyfeillion iddo! Yn lle trysorau i roddi iddynt, heb ddigon o arian i dalu'r drêth heb wneuthur gwyrth! A'r swyddau o barch a gynygiau iddynt oedd rhoddi ei groes i bob un o honynt i'w dwyn!! Ymhob peth yn groes i fawredd bydol o'r dechreu i'r diwedd. Preseb yn lle cryd ar ei enedigaeth, dim lle i roi ben i lawr yn aml yn ei fywyd, na bedd o'i eiddo ei hun yn ei farwolaeth! Yma mae anghrediniaeth yn ffromi yn aml, ac yn gofyn. Pa le mae holl ogoniant y Brenin hwn a ganmolir gymmaint? I ganfod hyn nid rhaid i ffŷdd ond edrych dan y llen deneu o gnawd, ac yno yr ymddengys Arglwydd y gogoniant! Brenin y Brenhinoedd! Arglwydd y lluoedd, nerthol mewn rhyfel! Y nef ei

orseddfainc! y ddaear yn stôl ei draed! y goleuni ei wisgoedd! y cymylau ei gerbydau; y taranau ei lais; Ei nerth hollalluogrwydd i Ei ogoniant yn anfeidrol. Ei osgordd, llu'r nef â holl rai rhagorol y ddaear, i ba rai mae'n rhoddi golud anchwiliadwy, etifeddiaeth anllygredig, gwleddoedd o lawenydd tragywyddol, a thitlau yn cynwys anrhydedd tragywyddol, ïe, eu gwneuthur yn Frenhinoedd, ac yn offeiriaid, yn ei deyrnas! Concerwyr ar bob peth yn y byd hwn, ac yn unffurf âg ef ei hun pan ddêl ei deyrnas yn ei nerth a'i grym cyflawn!

Ond maent yn beio o hyd ar y wêdd hôno; er hyny mae'r wêdd wael hóno, oddiar ystyriaeth briodol, yn ymddangos mor ogoneddus, nes y mae hyd yn oed ei hiselderau yn anrhydeddus; gwaeledd gogoneddus ydoedd, oherwydd fod ei dibenion a'i heffeithiau felly: os dioddefodd gywilydd, tlodi, poen, gofidiau, ac angau dros amser, gwnaeth hynny fel na byddai raid i un o ddeiliaid ei deyrnas ddioddef y pethau hyn dros byth. Felly yr oedd gwaeledd allanol y Brenin hwn, ag oedd yn gorchuddio ei wir fawredd, ynddo ei hun yn ogoneddus, o herwydd y bwriad o hono.

Er hyny nid oedd y gorchudd hwnw yn cymylu rhagddo yn hollol, yr oedd amrywiol o belyderau disglaer yn ymddangos yn ogoneddus trwyddo. Yr oedd ei enedigaeth o'r bron yn ddisylw ar y ddaear isod, ond yr oedd yn cael ei gyhoeddi â Haleliwiau yn y nef! Angylion gogoneddus a diriasant o entrych nef gyda'r newyddion o'i genhedliad, holl lu'r nef oeddynt yn estyn ei gyddfau i rythu ar enedigaeth hwn, gan ymffrostio pan gaent yr anrhydedd o gario'r *expresses* at ei dad, ei fam, neu ryw un yn ei gylch!!

Er nad oedd iddo ond lletty gwael a thlawd i'w eni ynddo, ond un o deulu y bydoedd tanbaid serenol a adawodd ei phegwm, gan dorri drwy ei holl gylchoedd hwy er dangos i'r doethion y preseb lle gorweddai creawdwr y byd! Ni bu gan un tywysog erioed ymwelwyr dan y fath arweiniad. Nid oedd gan y Brenin hwn yr osgordd ardderchog oedd gan frenhinoedd ereill mae'n wir, ond yr oedd yn cael ei ddilyn a gweini iddo gan dorfeydd o gleifion yn ceisio ac yn cael iachâd enaid a chorph; gwnaeth i'r mudanod a'i cyfarfyddai ganu ei fawl, y byddariaid i glywed ei ryfeddodau, a'r deillion i weled ei ogoniant!

Nid oedd y Brenin rhyfeddol hwn yn rhodio ar *Tapestry* mae'n wir pan ddaeth i osod i fynu ei deyrnas ar y ddaear, ond pan rodiai ar y môr, y dyfroedd a'i cynhalient, ïe'r holl elfenau a phob rhan o'r greadigaeth oeddynt yn cyfaddef ei creawdwr a'u Brenin, ond *dyn*.

Ond wedi dywedyd cymaint a hyn am ogoniant a rhagoroldeb y Brenin, awn ymlaen i chwilio pa fodd y sefydlodd ei deyrnas, canys gwelwn yn ei hanes nad oedd efe yn segur yn hyn: wedi i'r rhyfeddodau a'r cynwrf a ddanghosent ei enedigaeth ef dawelu, wedi'r haleliwiau i raddau ddystewi yn y nêf, y seren gael ei chylch, a'r doethion ddychwelyd i'r dwyrain yn ôl, wele yr holl wlad yn gorwedd mewn cŵsg a llonyddwch, hyd nes daeth Ioan fedyddiwr, y seren foreu, gan lammu o'r diffeithwch, a dyrchafu ei lêf i draethu rhyw genadwri newydd a rhyfeddol yn eu clustiau, "Edifarhewch," medd efe, "canys nesaodd teyrnas nefoedd," gan eu bedyddio â bedydd Edifeirwch, a thystiolaethai yn hŷf fod eu Brenin eisoes yn sefyll yn eu mysg ar sefydlu ei deyrnas: ac efe etto yn llefaru, y Brenin ei hun a ddaeth, ac a fedyddiwyd ganddo yn yr Iorddonen, a'r Yspryd Glân hefyd yn tystiolaethu yn eglur mai Mab Duw oedd efe: ac yn êon efe a ddechreuodd egluro iddynt rai o gyfreithiau ei deyrnas, a sicrhau y gwirionedd o genadwri Ioan, "Edifarhewch," medd yntau, "canys nesaodd teyrnas nefoedd," &c. Yn fuan wedi hyny galwodd ei swyddogion, ac ai hanfonodd drwy holl ddinasoedd Judea gan ddywedyd, "Edifarhewch, canys nesaodd teyrnas nefoedd;" wedi hyny anfonodd ddeg a thriugain gyda'r un genadwri, wedi hyny, deg a thrugain ereill gan sicrhau fod teyrnas nefoedd yn nês nag o'r blaen; a hyny fel y byddai'r holl wlad wedi eu rhybyddio, a'i deffroi o gŵsg oesoedd, erbyn dyfodiad y deyrnas odidog oedd ar gael ei gosod i fynu yn eu plith; ac wedi i'r rhybyddio gael yr effaith briodol, a chreu rhyw ddysgwiliad cyffredinol am dano drwy'r wlad, ond yn enwedig yn nhgalonau ei ddisgyblion, y rhai a ddisgwylient gael goruchafiaeth hollol ar eu holl elynion, pan roddent y goron a'r ben eu hathraw a'u Brenin: yna, y caent hwythau dâl dwbl am eu holl lafur, a'u gwobrwyo am yr holl ludded a'r gwarth a ddyoddefasnet er ei fwyn, trwy eu dyrchafu i ryw swyddau gogoneddus ganddo yn ymyl ei berson.

Ond O'r fath siomedigaeth! Yn lle y dyrchafiad goruchel hwnw gwelsant eu Brenin yn cael ei ddâl yn Gethsemane, a'i ddwyn yn gaeth o flaen yr arch-offeiriaid gelyniaethus, pawb o'r bron yn ei wawdio, rhai yn tynu blew ei gernau, rhai yn ei guro â gwiail, ereill yn poeri yn ei wyneb. &c, nes y cawsant, rhwng Iuddewon a Chenhedloedd megis oruchafieth arno, gan hoelio ei draed a'i ddwylaw wrth y croes-bren. Wele y Brenin yn seilio ei deyrnas â gwaed ei galon, er na ddeallasant hwy! Nid rhyfedd i'w ddysgyblion fethu ei ganlyn yno, canys ni

yr angel ddim pellach na'r ardd. Methodd yr Haul edrych ar yr olygfa hon, canys pan ganfu hwnw, ynghyd a'r rhanau ereill o'r greadigaeth, y fath bryfed gwael yn poenydio eu Brenin tyner, a galluog, a'r fath lû uffernol yn ceisio lladd ei ffydd, yr Haul hwnw oedd yn ymffrost ganddo oleuo ei gamrau a chynhesu ei waed, a fethodd yn awr a dal ei ben i fynu! Y creigiau a holltasant dan eu traed, ac angau gan syndod, a'i brysyrwch i gael gafael sicrach arno, â anghofiodd ereill o'i deuantiaid!!

Mae'n wir fod rhyw ryfeddodau anghydmarol yn ymddangos ar enedigaeth y Brenin hwn; holl lu'r nef, ac oeddynt ar hyd yr oesoedd wedi bod yn addoli yr hwn oedd ei orsedd goruwch y seren foreu, a synasant pan welsant Ef yn y preseb! Ond yr oeddynt yn rhyfeddu mwy o lawer wrth ei ddilyn fel ei weision drwy ei holl ddarostyngiad, nes i Galfaria goroni ei syndod hwy, a darostyngiad Brenin y Brenhinoedd! Ond er mor ddideimlad yr oedd dynion ar y tro hwn, 'roedd colofnau natur mewn galar-wyl am farwolaeth eu Brenin! 'Roedd rhyw olygfa fwy gogoneddus o lawer ar y Brenin hwn wrth farw, nac wrth fyw: a bydded yr holl greadigaeth yn dyst, yr hon dan bob amgylchiad arall yn ei fywyd, oedd yn llawenhau wrth gael gweinyddu iddo; ond pan fu efe farw, methodd yr Haul lewyrchu; nis medrodd y ddaear ymlonyddu: nes gweled holl luoedd y fall wedi ei maeddu, a'r Messiah ei hun yn canfod ei Dad yn gwenu ar ei offrwm, ac yn rhoddi iddo ganiatâd i waeddi Gorphenwyd. Gorphen, pa beth? Gosod sylfaeni ei deyrnas ar y ddaear, fel na allai pyrth uffern ei gorchfygu!

Yn awr, O ddarllenydd hynaws, ti elli amgyffred, erbyn hyn, beth yw rhai o *garacteristics* ein Brenin ni, ac onid yw yn ddigon dâ a hawddgar i tithau? Dyred ymlaen ynte i chwilio am ei deyrnas Ef, fel os gallwn ei chael, yr elom i mewn iddi, cyn cau y drws. Mae ei waith yn gosod ei deyrnas i fyny yn gyfryw ac a ddychrynodd yr Haul, y creigiau, angau a'r bedd: a diamau fod angylion glan ac aflan yn wylo yn yr olwg arno: a driain O'i Fam, a'i ddisgyblon oeddynt yn sefyll ger llaw, yn edrych arno gan wylo, heb allu yw gysuro un dim; diamau y buasai yn llawer gwell ganddynt hyd yn nod roddi eu bywydau i lawr er rhoddi y goron ar ei ben, a'i osod ar yr orsedd, nac edrych arno y'ngrhog rhwng nef a daear, ymysg lladron! Pur anhawdd oedd rhoi arfau i lawr heb un ymdrech,—cael ei siomi yn eu holl ddisgwyliadau, a'i darostwng o'r radd uwchaf o obaith ac ymffrost, i eigion anobaith a galar, oedd yn siomedigaeth mor fawr nas gall-

ent ei ddioddef: a dychmygaf eu gweled o'r neilldu yn gryddfan mewn bustle o chwerwder, " O beth a wnawn yn awr, maent wedi lladd ein Brenin ni!"—dacw ef yn rhoi'r ochenaid olaf, Oh'r biccell lom, a hir; mae'r glaswellt wedi ei liwio a gwaed ei galon.—Ai dyma ddiwedd ein holl ddisgwyl? Ai fel hyn y telir i ni am ein holl lafur gyd ag ef, a'r holl warth a'r dirmyg a gawsom? Ai dyma ein gwobr am yr holl newyn, y tlodi, a'r erledigaeth a ddaeth arnom wrth ei ddilyn ef? Gadawsom berthynasau, a chyfeillion, a'n meddianau bydol, ïe pob peth er ei fwyn. Ond mae pob peth drosodd yn awr, maent wedi ei ladd! Oh'r siomedigaeth fawr a gawsom, wrth ystyried nid yn unig ein bod yn disgwyl mai efe oedd yr hwn a adferai y deyrnas i Israel; ond yr ydym er's dros dair blynedd bellach wedi bod yn codi cynwrf mawr drwy holl Judea; ac y mae'r holl Iuddewon wedi ein clywed yn gwaeddi yn uchel fod y deyrnas yn agos: ond fe'n siomwyd ni oll, a pha fodd yr edrychwn yn eu hwynebau? 'Roedd rhai, hyd yn nod o'r Ysgrifenyddion a'r Phariseaid yn crynu gan ofn wrth ein clywed yn tystiolaethu mor hyf yn eu temlau mai Efe yw Brenin yr Iuddewon, a gwell genym farw na chael y fath siomedigaeth, ond rhaid rhoi i fynu bellach i anobaith. Deuwch, medd Pedr, cymerwn yr olygfa olaf arno, yr wyf yn ei garu er y cwbl, yna dychwelwn at yr hên grefft i ddal pysgod; ïe, medd un arall, dyna'r ffordd oreu, awn o wyddfod y bobl, ac ymaith a hwy bawb yw masnach, a gadael eu Brenin yn farw ar y maes. Ni chlywyd y llêf uchel hono mwy, " Edifarhewch, canys nesaodd teyrnas nefoedd," darfu'r holl gynwrf yn y fan, a distawrwydd y bêdd, o'u rhan hwy, drwy holl wlad Judea unwaith etto.

O'r fath ddallineb oedd yn toi eu meddyliau; nis gallai un o honynt gofio er iddo yn aml rag-ddywedyd pob peth yn gywir fel y daethant; er iddynt am flynyddau weled ei wyrthiau, clywed ei ddoethineb, credu, ac addef amryw weithiau cyn hyny mai Mab Duw yn wir oedd efe, etto yr oedd eu tywyllwch y fath nas gallent weled trwy y llen deneu o gnawd am ychydig oriau; er fod yr holl greadigaeth y fynydau hyny yn addef ei ddwyfoldeb; ïe y lleidr hwnw, na chlywodd bregeth erioed fe allai, yn ei alw yn Arglwydd ac yn Frenin; yr hên filwyr Rhyfeinig hyny ac oeddynt wedi arfer tywallt gwaed a thorri esgyrn o'i hieungctyd fe allai, a giliasant yn ol o'r olygfa erchyll hon, gan waeddi, "yn wir Mab Duw yw y dyn hwn," a'r holl dorf gymysgiedig yn addef y gwirionedd o hyny wrth weled y creigiau yn hollti, y mynyddoedd yn llamu, a'r

deml fawr ei hun yn rhwygo ei gwisgoedd yn llarpiau, yn y fagddu a dynasant ar ei penau eu hunain! Ond y disgyblion druain oedd yn y tywyllwch mwyaf o bawb. 'Rwy'n ofni fod llawer Cymro, er yr holl ddywedyd am y Brenin gogoneddus hwn, yn methu canfod nemawr o'i ogoniant a'i ddaioni. Ond er ei fod Ef yn isaf yn y codwm fe gafodd y fuddugoliaeth yn hollol wrth godi; er ei roddi yn y bedd, a maen anferth arno, a'i selio a'r sel Rhufeinig, a'i wneud mor ddiogel y gallent; er hyny, ar foreu y trydydd dydd, wele udgyrn y nef yn dechreu tunio anthems newydd i wahodd ei Brenin allan o grombil y ddaear ôer, fel pe buasent yn hiraethu am gael golwg arno, ei foli a'i gofleidio; a'r pyrth tragywyddol eisoes yn dyrchafu eu penau yn wirfoddol i dderbyn ei gogoniant penaf; ïe, holl deulu Duw ymron llewygu gan orfoledd pan gawsant syllu yn wyneb yr hwn a sathrodd y winwryf ei hun, gan goncro ei holl elynion trwy nerth ei anferth fŵa, a'i darian ei hun!! "Ac o'r bobl nid oedd neb gyd ag ef." Ac wedi rhoddi ei holl elynion dan ei draed, dyrchafodd i fynu nes sengu o'i draed sanctaidd lwch auraidd y drydedd nef. Pwy na ddywed, dyma'r Brenin i mi! Ond Oh gariad rhyfeddol! er cymaint ei awydd i fyned a gorphwys ei ben gwaedlyd ar fynwes ei Dad anwyl, a chyfarch Henffych well i'r Cerubiaid a'r Seraphiaid; etto 'roedd yn fwy awyddus i gael cymdeithas y pyscotwyr tlodion hyny, er eu hymddygiad oeredd tu ag atto; ïe nid aeth adref nes cael cwrdd a hwy, er bu raid iddo anfon hên wreigen yw casglu ynghyd; a meddyliaf ei fod yn awyddus iawn am weled yr amser y deuent at eu gilydd, fel y gallai eu diddanu a'u dysgu yn fanylach yn y pethau a berthynent yw deyrnas: a phwy a all ddisgrifio y cyfarfod rhyfedd hwnw!! Yma troes eu holl alar yn llawenydd: nid yw'n dyweyd hŷd y cyfarfod, na faint oedd eu llawenydd; ond fe ail gyneuodd yr hen fflam selog am y deyrnas, yn y fan. Wele hwy unwaith etto wedi cael eu Brenin yn fyw yn eu mysg, a gwaeddant yn uwch nac o'r blaen am ei ogoniant; ac a'nt ymlaen yn hŷf iawn debygaf yn awr i sefydlu ei deyrnas Ef,—O na nid dyna y gorchymyn nesaf chwaith! ond dywedodd wrthynt am aros yn Jerusalem, hyd oni chynysgaedder hwy a'r nerth angenrheidiol o'r uchelder i agor drws y deyrnas, er derbyn dieithriaid ac estroniaid yn ddeiliaid cyfreithlon, drwy weinyddu iddynt y cyfreithiau, a'r ordinhadau hyny a orchmynai y Brenin iddynt; pa rai oeddynt i fod bob amser yn dilerau, neu amodau y mabwysiad: ac heb ufudddod i'r rhai hynny nid oedd yn bossibl i neb ddyfod i

mewn i'r deyrnas hono; dyna'r drws, a'r unig ddrws. Ac wedi iddo esgyn i'r uchelder, a'i goroni a phob awdurdod a nerth yn y nef, ac ar y ddaear, efe a ddychwelodd at ei ddisgyblion, ac a êangodd eu terfynau; cyn hyny nid oeddynt i fyned ond trwy Judea yn unig, ond yn awr gorchymynodd iddynt "fyned i'r holl fyd, a phregethu'r efengyl i bob creadur." Marc, xvi, 16. Y neb a gredo ac a fedyddir a fydd cadwedig; eithr y neb ni chredo a gondemnir.

17 "A'r arwyddion hyn a ganlynant y rhai a *gredant*; yn fy enw i y bwriant allan gythreuliaid; ac ä thafodau newyddion y llefarant;"

18 "Seirph a godant ymaith, ac os yfant ddim marwol, ni wna iddynt ddim niwed; ar y cleifion y rhoddant eu dwylaw a hwy a fyddant iach."

Dymunaf ar y darllenydd ddeall y genadwri bwysig hon, a'r effaith a gai hefyd, cyn myned heibio iddi; o herwydd os unwaith y deallwn hyn, nis gellir byth gamgymeryd teyrnas Dduw; yma ymddengys yn eglur y nodweddau hyny ac oeddynt bob amser i'w dyrchafu a'i rhagori ar bob teyrnas arall, neu enwau crefyddol ereill, ar y ddaear: gan bod ein derbyniad neu ein gwrthodiad o honi yn ymddibynu ar ei hadnabod yn iawn (canys ni wrthyd neb deyrnas Dduw yn wirfoddol mi dybygaf) yna plaena bydd y nodau, hawddaf ei hadnabod, o ganlyniad ystyriwn yn fanylach y nodau hyn bob un yn eu lle a'i goleuni priodol.

*Yn Gyntaf,*—Gorchmynodd iddynt bregethu 'r efengyl, (*h. y.* y newyddion da o groeshoeliad ac adgyfodiad y Brenin) i'r holl fyd. *Yn ail,*—Y neb a gredo ac a fedyddir, a fydd cadwedig. *Trydydd,*—Y neb ni chredai'r hyn a bregethent hwy, a gondemnir. *Pedwerydd,*—Yr arwyddion hyn *a ganlynant* y *rhai a gredant*, sef,—1af. Yr oeddynt i fwrw allan gythreuliaid. 2il. I lefaru a thafodau newyddion. 3ydd. Seirph a godant ymaith. 4ydd. Os yfant ddim marwol, ni wna iddynt ddim niwed. 5ed. Ar y cleifion y rhoddant ddwylaw, a hwy a fyddant iach.

Yn awr mae'n rhaid mae camsyniad gwirfoddol, tywyllwch traddodiadol, neu ryw ddallineb fel y fagddu ei hun, a barodd i un Cymro eirioed gamsynied, na methu deall y genadwri blaen hon; ac mae'n ofidus meddwl fod rhai ynghymry fawr ei breintiau, ïe yn yr oes oleu hon, (fel y gelwir hi) mor ddiddeall a dywedyd nad oedd yr arwyddion hyn i ganlyn neb ond yr apostolion! Mae ereill sydd yn darllen ei biblau, bron yn feunyddiol, yn meddwl nad oedd yr arwyddion hyn i ganlyn, ond credinwyr yr oes

hono; a hyny er sefydlu'r efengyl: ac nad oes mwyach ei heisiau!! Oh'r fath gyfeiliornad yw hyn! Beth a ddywed y Brenin ei hun? hyny a goeliaf fi.

Onid yw Crist ei hun yn gosod y pregethu, y credu, y cadw, a'r arwyddion oedd i ganlyn, yn *gydradd*, ac ar yr un tilerau, i fod o'r un barhad, ac ynglyn anwahanol a'i gilydd; lle cyfyngir un o honynt, yno y cyfyngir y lleill; yna pan beidiodd un o'r rhai uchod, y peidiodd yr *oll* o honynt!

Os yw'r iaith yn cyfyngu yr *arwyddion* hyn i'r apostolion, yna rhaid ei bod yn cyfyngu *ffydd*, *bedyddio*, ac *iechydwriaeth* hefyd i'r apostolion yn unig. Os nad oedd yr *arwyddion* hyn i ganlyn neb ond yr apostolion, yna nid oedd neb arall i *gredu*, na neb ond hwy i gael eu *hachub!* Etto dywedaf, os yw'r addewid o'r *arwyddion* i'r oes gyntaf o Gristnogrwydd yn unig, yna nid yw yr addewid o *iechydwriaeth* i neb ond yr oes hono chwaith; nid *oes* gwahaniaeth rhyngddynt. Mae'n amlwg i bob un diduedd fod yr iaith yn y fan hon yn cynwys, ac yn cyfeirio at y naill mor uniongyrchol ar llall o honynt; o ganlyniad, lle mae un mewn grym, rhaid fod y cyfan o honynt felly hefyd: byddai mor briodol dyweyd nad yw *Pregethu* yn anghenrheidiol yn awr, nad oes eisiau *ffydd* ac *edifeirwch*, nac *iechydwriaeth*, ond eu bod wedi eu gorchymyn y pryd hyny er sefydlu'r efengyl, ac yw dyweyd nad yw'r *arwyddion* hyny yn anghenrheidiol yn yr oes hon: ystyriwch pwy a orchymynodd y naill, ac a addawodd y llall, *yr un yw;* ac ar yr un tilerau yr addawodd yr *effaith* ac y gorchmynodd y moddion neu'r *achos*. Os addefir fod y Brenin, a gafodd bob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear, yn abl i gyflawni ei addewidion hyn, hyny fyddai addef hefyd y canlyn yr arwyddion hyn y gwir gredinwyr ym mhob *oes*, ym mhob man, a than bob amgylchiad, lle ceir hwynt; hyny yw, os na ellir profi fod yr hwn a'i haddawodd y pryd hyny, wedi ei galw yn ol; a hyny fyddai yn ei brofi yn gyfnewidiol ei feddwl, ac yntau wedi dyweyd, "y nef a'r ddaear a a'nt heibio, ond fy ngeiriau I ni phallant byth!" Yna credwn ei eiriau Ef yn y lle *hyn*; maent mewn grym heddyw, fel y dydd y llefarodd hwynt. Yna adgoffhaf yr anerchiad cyntaf,—"Ceisiwch yn gyntaf deyrnas Dduw," yr hyn os gwnewch o galon nes ei chael, fel mai byw y Brenin a'i haddawodd, *yr arwyddion* hyn a'ch canlynant!'

Unwaith etto edrycbwn ar yr addewid werthfawr hon fel hyn,—"*Ewch*" (Crist sydd yn llefaru wrth yr apostolion, yr *ail* bersonau) "*i'r holl fyd a phregethwch yr efengyl i bob creadur; y neb y gredo ac a fedyddir a fydd*

*cadwedig, a'r neb ni chredo a gondemnir. A'r arwyddion hyn a ganlynant y rhai a gredant,"* &c. ( y credinwyr ynt y *trydydd* personau y cyfeirir attynt heb wahaniaeth) Mae Crist, gwelwn, yn addaw yr arwyddion i ganlyn nid yr *ail* bersonau (sef yr apostolion) ond y *trydydd*, sef y *rhai a gredant* eu hathrawiaeth hwy. Fel hyn,—" yn fy enw i y bwriant (y crendinwyr,) allan gythreuliaid, a thafodau newyddion y llefarant (y credinwyr) Os yfant ddim marwol ni wna iddynt (y credinwyr) ddim niwed; ar y cleifion y rhoddant (y credinwyr) eu dwylaw, a hwy (y credinwyr hyd ddiwedd amser, a'r cleifion,) a fyddant iach."

Ond meddwch mewn syndod! Onid yw'r arwyddion hyn wedi darfod o'r byd, ac wedi cymeryd ei hadenydd o blith dynion er's canoedd o flynyddoedd? Wel meddaf, os gellwch brofi uwchlaw pob dadl fod yr arwyddion hyny wedi darfod o blith dynion, chwi a brofwch hefyd mor gadarn nad yw Efengyl Crist yn cael ei phregethu yn ei phurdeb gan ddynion! Os gellwch brofi pa *amser* y darfu yr arwyddion hyny, chwi a brofwch drwy hyny, pa amser y darfyddodd pobl gredu'r efengyl, ac y diflanodd teyrnas Dduw o'r byd; neu ynte profwch Fab Duw (yr hwn a'i haddawodd) yn *impostor*, celwyddog, nad yw ei holl addewidion mewn grym; yna nas gall fod un o honynt, rhaid eich bod yn profi y naill osodiad, neu'r llall; pa un ddewiswch? Os yr olaf, nid yw'n unol a diben y traethawd hwn eich hatteb. Ond os haerwch y gosodiad cyntaf yn hwy, yna cyfeiriaf chwi at eiriau y Brenin ardderchog ei hun!! "*A ganlynant y rhai a gredant,*"oeddynt y pryd hwnw, "*A ganlynant y rhai a gredant,*" ydynt heddyw, ac a fyddant hefyd hyd ddŷdd ei ddyfodiad, er dywedyd o'r holl fŷd i'r gwrthwyneb. " Fy ngeiriau I a saif byth yw o hyd! Yna gwelwn y rhyfyg o ddweyd i'r gwrthwyneb yn ol yr haeriad cyntaf.

Y pethau uchod yw rhai o nodau anffaeledig teyrnas Dduw ymhob oes, Dywed Matthew i'r Iesu orchymyn iddynt fyned i'r holl fyd, xxviii. 20. " Gan ddysgu iddynt gadw *pob peth* ar a orchymais i chwi. Ac wele yr ydwyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd." Sylwn, dysgu iddynt gadw *pob peth*, nid dysgu *rhai* o'r ordinhadau, y gorchmynion, neu *rai* o'r addewidion, fel y gwna yr oes ar llall, *pob peth*, fel y dywed Paul. " Nid ymateliais rhag mynegi i chwi *holl* gynghor Duw." Act. xx. 27.

Wedi sylwi mor fanwl ar y genadwri uchod fel nas gellir yn hawdd ei chamddeall; awn ymlaen i chwilio y modd y

sefydlwyd teyrnas Dduw, yn nyddiau 'r apostolion ; canys yno ceir ei gweled mewn drych anffaeledig — yna cymharwch hono a holl Eglwysi'r byd, ac os cewch *un* ar yr un cynllun, yn ei swyddau, ei hordinhadau, ei ffrwythau, a *phob peth* arall, ewch i mewn iddi trwy 'r drws, *hono* yw teyrnas Dduw.

Pan roes Crist y genadwri hon i'r apostolion, parodd iddynt *aros* yn Jerusalem, hyd nes cynesgeiddau hwynt a nerth o'r uchelder. Act. i. 4 a'r 8.

Ond medd y darllenydd, Paham yr oediad hwn ? mae'r atteb yn y gorchymyn yn eglur. Sef, am na fu yr un dyn eirioed, ac ni fydd yr un byth yn gymwys i bregethu efengyl Crist, neu i ddysgu 'r *holl* bethau a orchymynodd efe i'r apostolion heb yr Yspryd Glân ; ac Yspryd Glân pur wahanol ei effeithiau hefyd i'r pethau sy'n myn'd dan yr enw hwn, gan ddynion diarddeledig yr oes hon ; dywed yr Iesu, Ioan xvi. 13. "Ond pan ddêl efe, sef Yspryd y gwirionedd ; efe ac'h tywys chwi i *bob* gwirionedd, canys ni lefara efe o hono ei hun ond pa bethau bynag a glywo, a lefara efe : *a'r pethau sydd i ddyfod, a fynega efe i chwi.*" Heb sôn ei fod i'w dysgu i lefaru yn holl ïeithoedd y byd, &c. Gwelwn fod pob pregethwr yr Efengyl yn sefyll mewn angen mawr am y fath Yspryd Glân a hwn. Yn 1af, Yw harwain i *bob* gwirionedd fel y deallant beth yw bregethu. 2il, Er cryfhau eu côf rhag iddynt anghofio dysgu 'r *holl* bethau a orchymynodd efe. 3edd Efe (sef yr Yspryd Glân hwn,) a fynega i chwi y pethau sydd i ddyfod. A pheth fyddai mynegi iddynt y pethau sydd ar ddyfod, ond eu gwneud yn Brophwydi? Ac onid oes angen am Yspryd y brophwydoliaeth ar bregethwyr yr efengyl y dyddiau hyn, fel y gallant rybuddio eu gwrandawyr i ochelyd y dinystr sydd yn dyfod arnynt! Gwelwn mor ofalus oedd yr Iesu, na byddai i neb ryfygu pregethu ei efengyl heb yr Yspryd Glân, ac hefyd mor wahanol oedd effeithiau yr Yspryd Glân a addawodd, a'r effeithiau yr holl wahanol ysprydoedd sydd wedi myned ar led y byd, gan dwyllo miloedd. Onid yw yr Yspryd Glân mor anghyfnewidiol a'r Iesu ei hun ? Os ydyw *holl* Eglwysi'r oes hon dan arweiniad yr Yspryd Glân hwnw ; paham nad adwaenant y gwirionedd ? Paham na ddysgant yr *holl* bethau [illegible]

a rhaffau *cyffes*, ac a gefynau traddodiadol yr Esponwyr ; â chred y Difinyddion, y rhai ydynt oll o ddoethineb ddynol, ïe, *rhai* a wadant ddatguddiad, ac arddeliad yr Yspryd yn y pethau uchod, yn yr oes hon ! Nid rhyfedd i Esay ddweyd

am y dyddiau diweddaf, " Oherwydd bod y bobl hyn yn nesau attaf ai geneuau, ac yn fy anrhydeddu a'i gwefusau, â phellhau o'i calonau oddiwrthyf, a bod eu hofn tu ag attaf fi wedi ei ddysgu allan o athrawiaeth dynion, am hyny wele fi yn myned rhagof i wneuthur yn rhyfedd yn mysg y bobl hyn, sef *gwyrthiau* a rhyfeddodau; canys difethir doethineb eu doethion hwynt, a deall eu rhai deallus hwynt a ymguddia." Isa. xix.

Ond mae'n amlwg na feiddiodd hyd yn nod yr apostolion, er eu bod wedi eu dysgu gan y pen Ysgolhaig ei hun, anturio ar y gwaith pwysig ; ni fedrai y rhai hyny oeddynt wedi clywed y Brenin ei hun yn eu dysgu yn gyfreithiau ei deyrnas yn y dirgel, ac ar gyhoedd ; a gweled ei wyrthiau cyn, ac ar ol ei farwolaeth, ddim Pregethu Efengyl ei deyrnas ef, ac nid oeddynt yn addas i weinyddu ei ordinhadau ar ôl y cyfan; ac ni feiddiodd un o honynt agoryd ei enau gymaint ac i ddweyd; nesâodd teyrnas nefoedd ; ond arhosasant yn Jerusalem am gyflawniad o'r addewid, am y nerth a'r cymhwysderau anghenrheidiol hyny, y dylanwadau *anhebgorol* hyny, sef yr yspryd hwnw oedd i gymhwyso y pyscotwyr tlodion ac anysgedig, i fod yn swyddogion yn y deyrnas mwyaf ardderchog ar y ddaear. Ond er yr esiampl eglur hon, a llawer ereill a ellir enwi, mae llawer hyd yn nod *ynghymry*, yn cymeryd yr anrhydedd o weinyddu yn yr un swyddau, (fel y meddyliant,) heb y cymhwysderau uchod, ond yn hytrach yn gwadu 'r angen am dano yn awr fel pryd hyny. Oh ffolineb! Dywedant nad oes eisiau datguddiedigaethau yn yr oes oleu hon ; maent yn selio y nêf uwch eu penau ; yn cau gwefysau y Brenin fel na fynant iddo lefaru gair wrthynt; ac os rhydd genadwri i ryw un, mae ysgrifenyddion a Phariseaid yr oes ragfarnllyd hon yn eu condemnio am dwyllwyr, gau athrawon, ac athrodwyr, os dywedant iddynt naill ai cael Cenadwri o'r nêf, neu weled angel ; rhyfedd onide! Ond nid yw ddim gwaeth er hyny, canys felly y gwnaethant ymhob oes o'r byd, ac 'rwyn ofni mai felly y gwnaiff llawer hyd nes daw arnynt yn ôl y brophwydoliaeth. " Ond pan ddaw un attynt yn ei enw ei *hun* hwy a'i derbyniant Ef."

Mae llawer yn myned drwy'r wlad gan ddywedyd eu bod yn "genhadon dros Grist," &c. ac ar yr un pryd yn gwadu un datguddiad uniongyrchol gan Grist! A beiant ar bawb a broffesant fod dan arddeliad yr Yspryd hwnw ac oedd yn nerthol weithio yn y saint ymhob oes, nes eu dwyn i UNDEB Y FFYDD; felly gwrthddywedant eu hunain gan addef dau beth yn wir, sydd yn hollol *groes* i'w gilydd, yr

hyn beth sydd anmhosibl; â'nt allan i geisio gwneud gwaith yr apostolion, dan wadu yr anghenrheidrwydd am y cymhwysderau hyny oedd mor anhebgorol iddynt hwy, a dyma 'r *secret* am dywyllwch a rhagfarn y wlad, a'r holl wahanol grefyddau sydd ynddi. Oh na chaem yr un Yspryd hwnw i'n tywys bob rhai o honom i *bob* gwirionedd. Mae eisiau profi ysprydoedd yr oes hon yn fawr wrth y cynllyn. Mae gwaith pobl yn awr yn gwadu yr anghenrheidrwydd o ddylanwadau yr Yspryd fel yr enwyd, yn profi eu bod yn meddwl eu hunain yn ddoethach na'r apostolion, ac y gallant hwy gario ymlaen waith y weinidogaeth drwy esponiadau y doethion, a deongliadau priod y Difynyddion. Nid rhyfedd ynte fod cymaint o wahanol enwadau crefyddol yn y byd.

Ond erbyn hyn gwelwn y Brenin wedi ei goroni ar ddeheulaw Duw, a derbyn pob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear. ☞*Ail.* Ei swyddogion wedi eu cynysgaeddu ar cymhwysderau, angenrheidiol i weinyddu yn gyfreithlon holl ordinhadau a chyfreithiau ei deyrnas. *Drydydd.*. Y cyfreithiau oeddynt bob amser i fod yn ei deyrnas, sef *pob peth* a orchmynodd efe iddynt ddysgu i'r holl fyd.

Yn awr os gallwn gael disgrifiad eglur o'r modd y gwneid dynion yn ddeiliaid o'r deyrnas hono, a deall amodau y mabwysiad; yna cawn gynllun o deyrnas Dduw yn yr oes hono, ac ni foddlonir yr un dyn diduedd ar un deyrnas arall yn gwahanu mewn dim, (os gelwir hi yn deyrnas Dduw) yn yr oes hon, o herwydd ni fu gan Dduw erioed ac ni fydd ganddo byth deyrnas ar y ddaear yn gwahanu mewn un oes, ar a fu mewn oes arall: a chan i'r Brenin ei hun roddi cynllun o'i deyrnas, un perffaith oedd, a phwy a all ei gyfnewid mewn un modd, heb ei wneud yn anmherffaith, a difudd? Rhaid i Frenin anghyfnewidiol gael teyrnas anghyfnewidiol i deyrnasu arni, ïe a deddfau anghyfnewidiol ynddi, ac nid yw ddim mwy anghyson i ddyn sydd yn deall cyfreithiau a threfniadau teyrnas Brydain, i godi plaid, a chyfnewid cyfreithiau a threfniadau y wladwriaeth i'r dull a'r modd y myno Efe; a'i galw yn deyrnas Brydain wedi hyny; nac y gwna dynion godi plaid, a chyfnewid un dim, o reolau, swyddau, neu, ordinhadu teyrnas Dduw, a'i galw yn deyrnas iddo Ef wedy'n. Diamau y cyfrifid y cyntaf yn athrodwr, ac ymddygid atto fel y cyfryw. Ond pa faint mwy yw yr olaf yn *high treason* yn erbyn Brenin y Brenhinoedd! Mae troseddu cyfreithiau y wlad yn dangos dirmyg ar eu hawdwr, ond pa faint mwy dirmyg fyddai *cyfnewid* y cyfreithiau heb awdurdod gan y

deddfroddwr, a dywedyd mae y rhai hyny yw'r gwir gyfreithiau i fod. Ond pwy sydd yn ei cyfnewid, medd pawb ar holl wahanol enwau? Yr ydym ni oll (er fod dros chwe' chant o honom) yn cymeryd ein holl gyfreithiau o'r ysgrythyrau. A ffromant pan ddywedir nad ydynt, ïe, yr ôll o honynt yn ôl y Bibl. Haerant eu bod oll yn gywir ac yn credu'r Bibl, ac oll yn gwahanu, y naill mewn un peth, a'r lleill yn y pethau ereill. Yn y *non-esentials* maent yn gwahanu bob amser!! Dymunwn wybod fath beth yw *non-esentials* yn Nheyrnas Dduw? A roddodd y Brenin orchymyn *non-esential* ryw bryd? Yna mae *pob un* a roes, yn *non-esential* hefyd, gan fod yn gofyn ufudd-dod i bob un fel ei gilydd! Ond o'm rhan i nis gallaf ddeall beth yw y *non-esentials* y sonir gymaint am danynt, yn yr Efengyl dragywyddol! Onid oedd yn cynwys yr holl *non-esentials* yma, pan oedd yn *berffaith* gyfraith rhyddid fel y geilw Iago hi? Yna mae felly etto. Neu'n hytrach dylai fod felly yn awr. Ac mae'n *contradiction of terms* ddweyd fod yn bosibl i ddwy deyrnas wahanol yw gilydd, fod yn deyrnasoedd i'r Duw anghyfnewiaiol. Mae hyn yn amhosibl. Ac os gofynir, o'r cyfan, pa un yw teyrnas Dduw, penderfynant y ddaddl a'u gilydd mae digon o honynt, a digon o waith hefyd, a minau a âf ymlaen i ddangos o ddrych *anffaeledig* modd yr elai pawb o'r deiliaid i mewn, fath ddrws oedd iddi, canys nid oedd ond un drws; ac yr oedd *clo* anferth a'r hwnw, nas gellid ei dorri. Nid oedd ond un agoriad a'i hagorai; eiddo y Brenin yn unig oedd *hwnw*, ac os dringau neb i mewn drwy y ffenestr, dywed y Brenin y cospir hwy, nid yn unig fel athrodwyr, ond fel lladron ac yspeilwyr: ac nid oeddynt byth i gael sel y mabwysiad, nac un o ragor-freintiau y deiliaid. Nid oedd bossibl myned i mewn yr amser hwnw heb agoryd y drws: ac os fel y dywed pobl yn awr y mae, sef, fod y drws wedi ei agoryd y tro hwnw, ac na chauwyd mo hono, er hyny; yna gallasai lladron, yspeilwyr, a phawb fyned i mewn yn ddiwahan; a buan y buasai teyrnas Dduw fel ogof lladron: ond mae'n amlwg i'r Brenin roddi agoriad y drws i Pedr, ac 'roedd yntau yn agor y drws i bob un a ddeuai drwyddo; nid oedd yn gadael yr agoriad ynddo fel y gallai y neb a fyno ollwng rhai i fewn i'r deyrnas, ond pob un ar yr un amodau; ac nis gallai neb ond y swyddogion gosodedig ollwng neb i mewn; ac nis gellid agor y drws heb yr agoriad (sef yr awdurdod, a'r nerth) a gawsant hwy, neu y rhai a'i caent ganddynt hwy. Nid oedd deiliaid naturiol yn y byd, a allant honi un hawl i'r

deyrnas. 'Roedd y Cenhedloedd a'r Iuddewon wedi colli eu hawl trwy bechod ac anghrediniaeth; nis gallent ddyfod chwaith ond trwy y *drws* hwnw; a phawb a gredai yn y Brenin a dderbynid trwy y *drws* hwnw. Os gofynir beth yw y drws? atteb y Brenin ei hun hwn, yn blaen iawn, yn Ioan, iii, 5, er fod yr attebiad mor benodol, mae'n cael ei gyfeirio at bron bob peth ond yr hyn a ddywed yr Iesu,—"Yn wir, yn wir, meddaf i ti, oddeithr geni dyn o ddwfr, (*h. y.* ei fedyddio mewn dwfr) ac o'r Yspryd, (ei fedyddio a'r Yspryd) ni ddichon efe *fyned i mewn i deyrnas Dduw.*"

Ond chwiliwn ymhellach, er symud pob amheueth o'r ffordd ynghylch y pwnc pwysig hwn; a dangos y drws yn eglur fel na allo neb ei gamgymeryd. Gwelwn pa fodd yr agorodd Pedr ddrws y deyrnas y tro cyntaf, wedi cael yr agoriad gan ei Feistr: yna gwybydd, Oh ddarllenydd, os myni fyned i'r un deyrnas, rhaid myned drwy'r un drws heddyw; Canys y ffordd hono a roddwyd, neu a eglurwyd, ddydd y Pentecost, yw'r *unig* ffordd i'r deyrnas. Canys addefir gan bawb, a addefant rai o'r hanesion ereill, fod yr hanes *hwnw* yn wir: addefir hefyd fod Pedr a'r apostolion ereill dan arddeliad cyhoeddus a gwyrthiol yr Yspryd Glân hwnw, yn ol yr addewid, am yr hwn yr arhosent yn Jerusalem; yr *hwn* oedd yw tywys hwy i bob gwirionedd, i ddwyn ar gôf iddynt yr holl bethau a orchymynodd efe, (yna cawn y *pob peth* sydd yn anghenrheidiol er dyfod i'r deyrnas yn rheolaidd a chyflawn yma) ac wedi dyfod yn ddeiliaid, dŷsg hwy yn fanylach tu a pherffeithrwydd; a chan i'r Yspryd Glân selio a chadarnhau y gwirionedd o'r drefn hon a draddodwyd gan Pedr, pa fodd y disgwylir i'r Yspryd anghyfnewidiol hwnw selio, nac addef un drefn na gosodiad arall yn gwahanu dim oddiwrth yr hyn a ddywedir yma? Ofer yw disgwyl fath beth.

Pan oedd y disgyblion wedi ym gasglu ynghyd, a'r Yspryd Glân wedi disgyn arnynt megis tafodau o dân, cododd rhyw gynwrf mawr, nes casglu y bobl ynghyd, a gweled y tafodau, a'u clywed yn llefaru yn eu hamrywiol iaethoedd hwy; yna gwawdiasant, gan eu cyhyddo o feddwdod: a phan na allai Pedr oddef eu cabledd yn hwy, efe a safodd i fynu, ac a dystiolaethodd iddynt, yn hŷf, mai'r Iesu hwnw a groeshoeliasant hwy, a gyfododd Duw o feirw, ac a'i gwnaeth Ef yn Arglwydd ac yn Grist. A phan glywsant hyn, newidiasant eu meddyliau yn y fan, gan ddechreu holi, "Ha wŷr frodyr, Beth a wnawn ni?" Beth a achosodd y cyfnewidiad trwyadl hwn, mewn lleied o amser? Beth hefyd

ond effaith credu tystiolaeth Pedr, gweithrediad ffydd yn ei mynwes yn tystio mai gwir a ddywedai Pedr; ac mai Mab Duw oedd yr Iesu hwnw a groeshoeliasent hwy: dyma'r achos o'r cyfnewidiad yn eu hymddygiad, sef, *ffydd;* dyma y cynhyrfiad cyntaf a barodd iddynt ofyn, beth yw'r cam nesaf? Yn awr os addefwn fod Pedr yn gwybod beth yw y ddyledswydd nesaf, rhaid addef hefyd y rhoddai attebiad cywir iddynt, am eu bod yn awyddus i wybod, ac ufuddhau hefyd, *boed a fyddo:* ac nid wyf yn meddwl y gwyddent beth oedd y nesaf. Nid pobl wedi cynefino a gwrando'r efengyl oedd y rhai hyn; ond dyma debygaf y bregeth gyntaf a glywsant, neu y rhan fwyaf o honynt; achos 'roedd yno dros bymtheg o wahanol ieuthoedd. Rhaid addef fod eu bywyd hwy ynglyn ac ufuddhau i'r gorchymyn nesaf o'r eiddo Pedr; ac os ydym ninnau dan yr un Efengyl? ac arnom eisiau yr un bendithion? (a chan nad oes ond un modd yw cael) onid yw mor anhepgorol i bob dyn ufuddhau yr un gorchymynion, er derbyn y cyfryw fendithion yn gyson?

Nid oes yn Nuw gyfnewidiad na chysgod troedigaeth; mae'r natur ddynol yr un, ansawdd pechod hefyd yr un; (canys anghyfraith yw pechod etto,) yna os oes eisiau y bendithion hyny, gwrandewch y gorchymyn nesaf *i chwi,* heddyw, fel y diwrnod hwnw iddynt hwy. Act. ii. 38. "Edifarhewch, (h. y. gadewch eich ffyrdd drygionus, deuwch a chalon ddrylliog ac Yspryd cystuddiedig, &c.) hwn yw'r ail orchymyn; wedi hyny, ac nid cyn hyny sylwch, cewch wers newydd, neu 'r trydydd gorchymyn, sef yr *un* weithred allanol hono oedd yn anhebgorol iddynt hwy, ïe i bob un o honynt, mae mor angenrheidiol ac un o'r ddau ereill, ac ni fuddia i neb oni wnant hi yn ôl rheol Pedr; sef drwy ffydd, oddiar *edifeirwch,* a dyma yw hono, Oh bechadur! Cofleidia hi, a brysia yw chyflawni. A *Bedyddier pob un o honoch!* Os gofynwch Paham rhaid ufuddhau y trydydd peth, pam na wna y ddau gyntaf atteb yr un diben? dyma'r canlyniad, a'r achos Pa'm, medd yr Yspryd Glân, yr hwn oedd fel tafod o dan ar ben Pedr, Er *maddeuant pechodau!* Os addefir fod maddeuant yn deilliaw yn y ffordd yma pryd hyny, hyny yw addef nas gellir cael maddeuant un ffordd, Ond trwy y ffordd *hon* yn unig, sef, yn gyntaf, FFYDD, yn ail, ond nid yn gyntaf, EDIFEIRWCH. Yn drydydd, ond nid yn gyntaf, nac yn ail chwaith, BEDYDDIER chwi. *Wedi* hyny, ond nid *cyn* hyny, os yw Pedr yn dweyd y gwir, ceir MADDEUANT PECHODAU. Nis gwn pam mae cymaint o

wahanol farnau ynghymry am y trydydd gorchymyn hwn, a'r angenrheidrwydd am ufuddhau hwn, mwy na'r ddau flaenorol; mae'r naill a'r llall yn gydradd yma: os dywedir fod un yn afreidiol, gellir dyweyd fod yr oll yn afreidiol; canys rhoddir yr oll o honynt gan un person, ac i'r un diben; yna y mae y naill mor anhebgorol a'r llall. Ni ddywed neb, a gredo yr ysgrythyrau, fod modd achub un heb y cyntaf, sef *ffydd*; a'r ail, sef *edifeirwch*; ac ar yr un pryd dywed y rhai hyny nad yw y trydydd, sef *Bedydd*, yn anhebgorol; ïe, rhaid addef fod rhai pobl, hyd yn nod yn yr oes oleu a doeth hon, (fel y gelwir) y rhai mae'r ysgrythyrau ganddynt yn eu hiaith eu hunain, yn dweyd fod modd cael maddeuant pechodau ryw ffordd arall, yn yr oes ryfedd hon, yn amgen na'r drefn hon a bregethodd Pedr. Nad yw *Bedydd* mor anhebgorol er maddeuant ac yw *ffydd* ac *edifeirwch*!!! Ond ni feddyliau Pedr hyny, onidë afreidiol oedd gorchymyn eu bedyddio i'r diben—ER MADDEUANT, ac os dywed neb nad yw *Bedydd* ER MADDEUANT, bydded rhyngddynt hwy a Pedr; dyma ei eiriau ef, a dyma a ddywedaf finau; dyma a ddywedodd Crist ei hun, "Y neb a *gredo* ac a *fedyddir* a fydd cadwedig," o ganlyniad rhaid y condemnir y neb na wnel y pethau hyn: gan fod yr addewid yn gadarnhaol, yna o'r ochr arall, mae'r esgeulusdod o honynt yn ein hymddifadu o'r addewid, a hyny nid am fod rhinwedd yn y dwfr i olchi ymaith bechodau, na bod ein hufudd-dod yn teilyngu y bendithion, ond mae'r cyfan o ras yn unig; nid *am*, ac nid heb ufuddhau: dyma lwybr ein dyledswydd, ar ba un yn unig gallwn ddisgwyl y fendith; gan ei fod yn addewedig fel hyn, yna rhyfyg ydyw ei ceisio mewn un llwybr arall, gan i Grist o'i ras a'i ddaioni osod y drefn hon i lawr er maddeuant, mae'n anfri arno geisio maddeuant un ffordd arall.!

Yn awr gwelwch, gyd-wladwyr hynaws, fath ydoedd Efengyl Crist pan y pregethwyd hi gan yr Yspryd Glân trwy enau Pedr; os clywch Efengyl fel hon yn cael ei phregethu yn awr, ni waeth gan ba enwad, na chwaith ym mha le, yn y fan cofleidiwch hi, o herwydd ar eich hufudd-dod i'r drefn hon mae maddeuant pechodau yn ymddibynu. Nid wyf yn cymeryd adnod yma a thraw, ond wele yma ddisgrifiad cyflawn o'r holl drefn er maddeuant; a chan mai dyma'r unig drefn sydd genym i'r diben hyny, sylwn yn fanylach arni; ïe darllenwch dystiolaeth Pedr ei hun Cofiwn eu bod hwy eisios yn credu fod Iesu yn Fab Duw pan ofynasant, beth fyddai y cam nesaf? A'r atteb oedd, "Edifarhewch." yn Gyntaf, *ffydd*. Ail, *edifeirwch*. Drydydd

*Bedydd.* Pedwerydd, *Maddeuant,* Pumed, *dawn yr Ysbryd Glan.* Mor eglur a phlaen yr ymddengys trefn yr iechydwriaeth yn yr efengyl, mor addas, mor hawdd ei deall a'i hufuddhau. Pam y ceisia pobl ei chyfnewid mewn dim? Ffydd a'i cymhellodd i ufuddhau; edifeirwch oedd un o'r effeithiau, a bedydd oedd yr ufudd-dod hwnw oedd yn ofynol i ddyfod i'r deyrnas drwy'r drws; a dawn yr Yspryd Glân ydoedd sêl eu mabwysiad, yr addewid i'r deiliaid pan y deuant i mewn, ac nid cyn hyny. Addawodd Crist os oeddynt yn ewyllysio gwneuthur ewyllys fy nhad i, efe a gaif *wybod* am yr athrawiaeth ai o Dduw y mae, ai myfi o honof fy hun sydd yn llefaru.

Pa le y clywch bregethu athrawiaeth fel hyn yn awr? Pwy sydd yn dyweyd y caiff y rhai a ufuddhant, *wybodaeth* iddynt ei hunain? Mae gwahaniaeth mawr rhwng meddwl, neu gredu a *gwybod* y gwirionedd o ryw athrawiaeth. Nid oes berygl twyllo neb, o herwydd cant *wybod* y sicrwydd ond ceisio y ffordd iawn. Pwy na fentra geisio er penderfynu y pwnc pwysig hwn? Ni wn i am un Eglwys arall yn y byd a sicrhâ yr addewid werthfawr hon; ond rhaid i'r deiliaid obeithio'r goreu o hyd, a dim sicrwydd yn y diwedd. Pwy glywch yn y dyddiau hyn yn pregethu fel Pedr gynt, mae y rhai hyny yn unig a gredant, ac a edifarhant, a ddylent gael eu bedyddio: fe allai y dywedir fod Bedyddwyr felly. Ond, a ydynt hwy yn gorchymyn eu bedyddio cyn gynted ac y credant, ac yr edifarhant? neu a ydynt hwy yn addaw iddynt faddeuant o'i pechodau, ynghyd a dawn yr Yspryd Glân?

Sylwch y fath effaith a gai'r Yspryd hwnw arnynt, "Efe a'ch tywys i bob gwirionedd," &c. Y pethau sydd i ddyfod a fynega efe i chwi: a dywed y Prophwyd Joel "y byddai iddynt freuddwydio, y rhoddai iddynt weledigaethau, ac y prophwydant," &c. Etto gofynaf, pa le y dysgir yr athrawiaeth hon yn awr? Paham ynteu nad yw? beth iw'r achos? Oes rhyw reswm, heb ofyn am ysgrythyr, er sefydlu athrawiaeth yn gwahanu mewn un dim i efengyl Crist? Oh na, nis gellir rhoddi na rheswm nac ysgrythyr byth; o herwydd nad oes un yw gael! Nid wyf yn meddwl y gwelid gymaint o'n cyd-wladwyr driain, ar hyd Cymry, o wythnos i wythnos, ac o fis bwy gilydd, ar ol yr holl bregethu, a'r cyfarfodydd, yn myned o'r naill le i'r llall gan ryddfan, a gryddiau pryddion, a chalon drom mewn amheuaeth, pe bai yr hên apostol Pedr, neu un o swyddogion Iesu Grist, yn ein plith yn pregethu'r un efengyl ac a bregethodd ef; ond, dysgid chwi fel y dysgwyd y rhai

hyny y modd i gael maddeuant o'ch holl bechodau cyn myned adref: ac ni fyddai raid i neb fyned i gyscu heb' gael diddanwch yr Yspryd i dystio ac i selio eich rhyddid a bod eich pechodau wedi eu mhaddeu yn rhad ac yn hollol.

Beth a feddyliech chwi Gymry; pe gwelech dair mil bobl yn dyfod yn mlaen (yn ol arferiad rhai pobl) i gael gweddio drostynt, a phe bai un o'r gweinidogion (fel Pedr gynt) yn sefyll i fynu gan orchymyn iddynt edifarhau, a'i bedyddio bob un o honynt yn enw Iesu Grist, er maddeuant pechodau; gan sicrhau iddynt uwchlaw pob dadl y caent faddeuant; ac nid hyny yn unig, ond os ufuddhaent, y caent hefyd ddawn yr *Yspryd Glan*, fel y gwelent weledigaethau, y prophwydent, &c. A phe gwelech ef a'i frodyr o'r un ffydd yn myned yr awr hono, gan fedyddio pob un o'r tair mil, ac yna yr Yspryd Glân yn dyfod arnynt, nes byddai rhai yn gweled gweledigaethau, rhai yn llefaru a thafodau newyddion, ac eraill yn prophwydo, &c? Onid elai'r gair am hyn drwy'r holl wlad ar frys, gan ddywedyd fod rhyw grefydd newydd a hynod iawn wedi ymddangos yn eich plith? gelwid hi hefyd yn hollol wahanol i'r un grefydd sydd yn y wlad yn awr.! Wel meddwch, mi fyddai hyny yn rhyw beth hollol newydd a rhyfedd iawn.! Wel meddaf finau, er mor rhyfeddol yr ymddanghosai hyn yn eich plith chwi, yn yr oes hon, mewn gwirionedd a sobrwydd dyma yw'r efengyl a bregethodd Pedr, os coeliwn y Bibl, ac nid oes efengyl arall. Mae Paul hefyd yn tystio mae'r un efengyl a bregethai yntau a Pedr, a'r lleill hefyd: a feddyliai pobl yr oes hon eu bod hwy oll yn cyfeiliorni, pan bregethant mor wahanol iddynt? Neu a feddyliwch chwi, pe bai Pedr yn dyfod yn ol i'r byd yn awr y pregethai yn wahanol i'r hyn a bregethodd pan oedd yma, er boddio yr oes hon? Ni choeliaf y gwna nes ei glywed; ac yna gwaeddwn yn ei wyneb, fel y darfu Paul gynt wrth y Galatiaid. "Pe baem ni, pe bae Pedr; ie, pe bai angel o'r nef yn efangylu i chwi amgen na'r hyn a efengylasom i chwi, bydded anathema."

Ond nid oes arnaf ofn iddynt hwy wrth-ddyweyd yr hyn a efengylasant pan ar y ddaear, ac a seliasant eu tystiolaeth a'u gwaed. Mae'n hên ddywediad fod y grefydd sydd yn ddigon da i farw, yn ddigon da i fyw hefyd: ond rwyf fi mor anhawdd i'm plesio mewn crefydd, fel na foddlonaf i fyw, na marw, heb yr un efengyl effeithiol hono a bregethodd Pedr; ac a ganmolodd Paul ac ereill gymaint arni, yr hon y maent heddyw yn gorfoleddu ynddi, ac fe'i gogoneddir trwyddi hefyd pan ddeuant yn ol.

Ac felly gwelwch, nad rhaid i chwi ryfeddu cymaint chwaith pam nad yw'r arwyddion hyny yn canlyn credinwyr yr oes hon. Ni raid gofyn pam nad y'nt yn canlyn yr un o'r enwau crefyddol sy'n y byd; mae'r atteb eisoes genych, sef, am nad oes addewid iddynt ganlyn neb sydd yn credu rhyw efengyl arall, neu ffurf arall yn wahanol i'r hon a bregethwyd gan yr apostolion. A pha fodd y canlynant y rhai sydd yn eu *gwadu*, a'u *gwrthod*? Ac am nad yw y ffrwythau hyny yn eu canlyn hwy, dywedant nad oes angen am danynt, ac ni allant gael ysgrythyr i brofi hyny chwaith. Ond gan fod rhaid dyweyd rhyw beth yngwyneb y gofyniad naturiol hwn, hyn yw'r atteb, nad oes ei heisiau!! ond cyfeiliornad hollol yw hyn fel y profwn wrth fyned ymlaen; a phan welant bobl yn proffesu yr efengyl hon, maent yn ei galw yn dwyllwyr a gau-athrawon ïe yn dyweyd mai gwaith y Diafol yw gwyrthiau Duw. Ofnwch a gwyliwch, ac edifarhewch chwi fugeiliaid Cymry, a *bedyddir* chwi er *maddeuant* o'ch *pechodau*: yna pregethwch efengyl Crist er achub eneidiau eich cyd-genedl, yn lle merwino clustiau eich gwrandawyr a thraddodiadau y tadau, a chwedlau, a choel-grefyddau gweigion yr oes hon. At y dyddiau anwybodus hyn y cyfeiriodd Duw pan lefarodd trwy ei was, gan ddywedyd, y byddai amser enbyd yn y dyddiau diweddaf, y pentyrent iddynt eu hunain athrawon, gan fod eu clustiau wedi merwino, ie ni ddioddefant athrawiaeth iachus: a thrachefn, "a chanddynt rith duwioldeb eithr wedi gwadu ei grym hi," &c. Ond mae'n galw yn awr arnoch i edifarhau a dychwelyd.

Gwelwn fod tair mil wedi eu gwneud yn ddeiliaid o deyrnas Dduw y dydd cyntaf y sefydlwyd hi, sef ar ddydd y pentecost, pan agorwyd y drws, pa rai ynghyd a'r ychwanegiadau eraill a gawsant, a gynyddasant yn deyrnas, neu'n deml sanctaidd i'r Arglwydd. Ac wedi chwalu ymaith aflwydd traddodiadol, a choelgrefyddau, y rhai oeddynt wedi tyfu mor benuchel nes gyru efengyl Crist o'r wlad; fel mae'n amlwg wrth y drych blaenorol; (ac 'rwyn disgwyl fod y darllenydd yn cael tâl am ei drafferth, trwy gael erbyn hyn ryw gip golwg ar ogoniant teyrnas Dduw o hirbell,) a hyny fel y sefydlwyd hi dan ddwyfol arweiniad: ac onid yw yn llawer rhagorach nac un o grefyddau newyddion yr oes grefyddol hon; yn enwedig ei Brenin, ei swyddau, ei hordinhadau, ei rhagorfreintiau, a'i ffrwythau.

Ond na sefwch ar y gwastadedd, ond dyfod yn ddeiliaid o honi; ac awn ymlaen i edrych ei llwyddiant, ei gogoniant, a'i hardderchowgrwydd; a pha ffrwythau oedd yn ei ddwyn

yn mysg Iuddewon a Chenhedloedd; pa fendithion a fwynheid gan ei deiliaid. Yn fuan wedi sefydlu y deyrnas hon yn Jerusalem, cynhyrfodd Satan ei offerynau fel arferol, ac fel y gwna bob amser, yw herlid nes eu gwasgaru drwy'r byd, fel yr elai pawb a'i wreichionen nes cyneu y fflam. Ond Phylip a aeth i Samaria, nid i ymgyddio chwaith, ond i bregethu'r un efengyl. "Ac *wedi* iddynt *gredu* y pethau a bregethodd Phylip, hwy a fedyddiwyd yn wŷr ac yn wragedd, ac a gawsant lawenydd mawr, a phan wybu y rhai oedd yn Jerusalem fod Samaria wedi derbyn yr efengyl, hwy a anfonasant yno Pedr ac Ioan, y rhai pan ddaethant a weddiasant trostynt, ac a ddodasant eu dwylaw arnynt, yna hwy a dderbyniasant ddawn yr Yspryd Glân." Yma gwelwn yr un drefn ac o'r blaen, sef yn gyntaf, ffydd, —hwy a gredasant, *wedi* hyny, ac nid *cyn* hyny, hwy a *fedyddiwyd* yn wŷr ac yn wragedd, ac a gawsant lawenydd mawr, er nad oeddynt etto wedi derbyn yr Yspryd Glân! Act. vii, 16. Canys nid oedd efe etto wedi disgyn ar neb o honynt, ond yn unig wedi eu bedyddio yn enw'r Arglwydd Iesu. Beth oedd yr achos o'r llawenydd mawr hwnw ynteu, gan nad oeddynt hwy y pryd hyny wedi derbyn yr Yspyyd Glân? Beth hefyd, meddaf, ond tawelwch cydwybodol, a llawenydd, yn tarddu o herwydd iddynt gyflawni yr hyn a gyfrifent yn ddyledswydd arnynt, yr hyn deimlad sydd yn twyllo bron yr holl fyd yn awr, gan eu bod yn boddloni ar y teimladau hyn, ac yn ei gamgymeryd am yr Yspryd Glân: nid ar y teimladau mae'r Yspryd yn effeithio, ond ar y *ddealltwriaeth* nes mae y teimladau yn cael ei rheoli a'i harwain ganddi hithau, a hyny i'r graddau y goleuir hi gan yr Yspryd. Ond mae'n eglur ddangos pwy a dderbyniodd yr Yspryd Glan wrth y ffrwythau a'r doniau sydd yn eu canlyn. Ond pwy a roddodd eu dwylaw ar grefyddwyr yr oes hon, fel y derbyniont yr Yspryd Glân? Neb! nid y'nt yn gweled hyny yn anghenrheidiol yn awr! Beth yw'r gwahaniaeth yn awr? Onid ydych yn ceisio yr Yspryd Glân a gawsant hwy? Nid oes ond un Yspryd Glân. Trwy arddodiad dwylaw gwelwn y cafodd y rhai hyny y fendith fawr hon. A pha fodd y gellwch gael yr hyn nid yw neb yn ei roddi i chwi? Nis gallasai y rhai hyny ei gael er eu bedyddio, heb weinyddiad yr ordinhad hon, drwy ba un y deuau: a pham y gweddiwch am yr hyn beth a wadwch nad yw i ei gael nai eisieu chwaith yn yr oes oleu (dywyll) hon; nid rhyfedd ynteu nad ydych yn ei dderbyn. Yma hefyd, Oh gyd-genedl,

gwelwch mor ogoneddus yw'r efengyl rhagor traddodiadau crefyddol yr oes hon!

Er dangos y drefn a roddwyd i *achub*, cymerwn esiampl arall, er dangos yn eglurach etto os oes modd, gan mai eisio eu hachub sydd ar bob dyn yn awr, rhaid cael yr un achos i ddwyn yr un effaith. Yn Act. x. cawn hanes am ryw ŵr pûr ddefysionol a elwid Cornelius, yr hwn oedd yn ofni Duw, ac yn gwneuthyr llawer o elusenau i'r bobl, ïe yn gweddio Duw yn wastadol; yr oedd yn ŵr mor ddâ nes daeth un o deulu Duw o'r drydydd nef i lawr at ei draed a chydnabyddiaeth iddo, fod y Duw anfeidrol wedi clywed ei weddiau oddiar ei orseddfaingc; ac anfon Angel gogoneddus a chenadwri iddo! A pheth oedd y genadwri hono debygech? Ai mynegu iddo fod ei bechodau wedi ei maddeu? Nage, ni ddywedodd yr angel ddim o'r fath beth wrtho, na chwaith y modd y gallai gael maddeuant, ond yn unig dywedodd wrtho pa le i gael yr hwn a'i rhoddai ar y ffordd i fod yn gadwedig, pa le y cai y trysor hwn (sef yr efengyl) mewn llestr pridd, ac mae'n amlwg oddiwrth y 6 adn. a'r hyn a ddywed Pedr yn y 14ad. o'r bennod nesaf, nad oedd Cornelius, er ei holl weddiau, &c. mewn sefyllfa o gadwedigaeth; ond yr oedd hyny er y cwbl yn ymddibynu ar ufuddhau i'r geiriau hyny a ddywedai Pedr wrtho, sef, yr un Pedr y buom yn sylwi mor ddifyrus ar ei efengyl. Yma gwelwn, a ydyw efe yr un feddwl etto.

Pa bae dysgawdwyr yr oes hon yn cael gŵr mor bur a dâ a Cornelius, diamau y dywedent wrtho, dâ gyfaill dâ a ffyddlon, dos ymlaen, nid oes eisiau dy fedyddio di: fe'th achubir di yn ddiau, er y gelli gael dy fedyddio os wy't yn ewyllysio, er nad yw yn anhebgorol er maddeuant.

Ond beth a ddywed Pedr, dyma'r pwnc, dynar ffordd, er dywedyd o holl bobl y byd i'r gwrthwyneb! Os na ddywed Pedr fod modd achub gŵr mor ddâ a hwn heb ei fedyddio, bydd hyny yn ddigon o brawf, nas gellir achub neb arall heb eu bedyddio, oherwydd yr hyn a orchmynai Pedr fyddau y moddion yw achub ar ol y cyfan, dim llai na mwy, nac amgen na hyny.

48ad. "Ac efe (Pedr) a orchmynodd eu bedyddio hwy yn enw'r Arglwydd. Onid yw hyn yn ddigon er terfynu pob dadl am yr angenrheidrwydd o fedyddio am byth? Os oedd yn bosibl achub Cornelius heb ei fedyddio, yna afreidiol oedd gorchymyn Pedr i'r diben hyny, a bod Duw wedi anfon ei angelion a'r negesau afreidiol a diles!! Os nad oedd yn bosibl achub gwr mor gyfiawn a hwnw heb ei fedyddio, pa fodd y gall neb arall ddysgwyl hyny?

Ond medd rhai, gwŷrth oedd hon a wnaed i'r diben o ddileu canolfyr y gwahaniaeth rhwng yr Iuddewon a'r Cenhedloedd, a dwyn y cyntaf o'r rhai hyny i mewn.

Wel ynteu; Pe dywedech hyn nid wyf yn gwadu hyny; ond nid oes yma ddim annogaeth i feddwl fod yr efengyl wedi ei chyfnewid un râdd er achub y Cenhedloedd; hyny fyddai ei galw yn feius o'r blaen, os oedd eisiau ei chyfnewid at sefyllfa neb: ond yr un drefn gwelwn yma ac o'r blaen yn hollol, *Ffydd, Edifeirwch, a Bedyddio.* Ond er rhoddi i chwi bob mantais a ofynwch, cymerwn ryw esiampl arall, ni waeth pa un, nac i ba le, y trown ein hwynebau yn y ysgrythyrau, yr un drefn a welwn.

Nid i'r cenhedloedd yn unig, roedd Bedydd yn anhebgorol er maddeuant, ond dywedaf yn hŷf nad oedd yn bosibl, yn unol ac un drefn, faddeu Pechodau *Paul* ei hun, heb ei fedyddio, ïe er ei fod wedi ei ddwyn i fynu wrth draed Gamaliel, ac er i Iesu Grist ei hun ei gyfarch ar y ffordd mewn modd nodedig iawn! gwel Act. ix. Yna sylwch ni phregethodd Crist yr efengyl i Paul, ac ni ddywedodd maddeuwyd dy bechodau chwaith, ond medd efe, cyfod dos i'r ddinas, fe fynegir i ti yno beth sydd raid i ti ei wneuthur, &c. Ni haera neb na chredodd Paul; mae yr Iesu oedd yn llefaru; os addefir hyn, addefir hefyd fod ganddo *ffŷdd* yn y fan yn gyntaf peth, ei ffrwyth hi oedd ei gymell i ufuddhau a myned i'r ddinas; adn. 9. Yn ail *Edifarhaodd*, am dridiau heb fwyta nac yfed. Yna rhodd yr Arglwydd genadwri uniongyrchol i Ananias i fyned at Paul; y rhaid addef fod bywyd Paul y'nglyn ac ufuddhau y genadwri hono boed a fyddo, a dyma'r gorchymyn nesaf a eiddo Duw trwy enau Ananias, gwel xxii. 6. Ac yn awr beth yr wyt ti yn aros? (bydd ar frys fel pe dywedai,) nid yw yn dweyd fel pregethwyr yr oes hon aros ar dri neu chwe' mis o brawf; ond mae yn ei gymell i brysyro er nad oedd etto ond tridiau er pan oedd yn edifarhau, na thri mynud debygaf ar ol i Ananias ei weled, cyn y dywedodd wrtho *Cyfod bedyddir di*: ond pam rhaid bedyddio Paul ac ynteu yn Iuddew o genedl, wedi cael cwmni'r Iesu ar y ffordd, a bod am dridiau heb fwyta, gymaint oedd ei Edifeirwch.

Paham rhaid bedyddio neb ynteu, Ond er ufudd-dod i'r drefn a roddwyd. Yma gwelwn fod cenadwri wedi dyfod o'r nef a'r ôl y cwbl yn gorchymyn ei fedyddio; i ba ddiben? Dymar effaith, *a golch ymaith dy bechodau*, gan alw ar enw'r Arglwydd. (sef trwy y Bedydd) ond pe bai rhyw

un yn awr am dridiau yn edifarhau dywedid wrtho, Cyfod ac ymgysyra bellach, cred Ynghrist a chadwedig fyddi, os myni gael dy fedyddio, ti elli neu beidio, d'yw ond matter cydwybod, ond nid iw 'n anhebgorol. Gan ŵyr droir' efengyl, yn groes i bob rheol ac esiampl, a hon hefyd. Nid oes eisiau yn awr ond calon newydd, meddant, a gwaeddi Arglwydd, Arglwydd, a chadwedig fyddi. O'r twyll mawr! oni addefir fod y gorchymyn hwn drwy Ananias o osodiad dwyfol? Os felly rhaid fod yn anhebgorol bedyddio Paul, er golchi ymaith ei bechodau, yna meddaf finnau mae mor anhebgorol bedyddio pob Cymro er golchi ymaith ei bechodau ac oedd i Paul (*h. y.* os na ellir dangos fod rhyw efengyl arall heblaw hono,) canys yr Arglwydd a orchymynodd i Pedr fedyddio Cornelius fel yr achubid ef, ai holl dŷ, Efe a orchmynodd i Ananias fedyddio Paul, Efe sydd yn gorchymyn dy fedyddio dithau heddyw ddarllenydd os wyt yn credu ac yn edifarhau; ac efe a ddywedodd hefyd, Nêf a daear a ânt heibio ond fy ngeiriau i ni phallant ddim. Yna dymunaf nac esgeulusa 'r ordinhad bwysig hon, er lleied a feddylir o honi ymysg ein cenedl y dyddiau hyn; mae o osodiad dwyfol, un o amodau y bywyd tragywyddol yw; a'i diystyru, neu eu hesgeuluso yw torri gorchymyn dwyfol. Llawer o esiamplau ereill a brawf yr un drefn i achub dyn. Gwelwn esiampl Philip ar efnych, ni fedyddiau Philip mo'r gŵr bonheddig hwnw ar ei ddymuniad ei hun, pan gallesid feddwl fod yr achlysur yn galw; heb iddo ef yn gyntaf brophesu ei FFYDD yn Mab Duw. Yna, ond nid cyn hyny efe ai bedyddiodd ef: gwelwn mor ofalus 'roedd Phillip na fedyddiau efe neb, ond fel y gwelsai ei frodyr yn gwneud, ac y gorchmynasai ei feistr iddo wneud. Pam ynteu na wnel pob un sy'n proffesu enw Iesu yr un fath yn awr? Ond medd rhai, oni ddywedodd Paul wrth geidwad y carchar, Cred yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig fyddi? Gwir iddo orchymyn iddo gredu yn gyntaf: wedi hyny efe a lefarodd air yr Arglwydd witho, a pheth oedd y gair hwnw? gwel Marc xvi. Matt. xxviii. Yna gwel effaith y grêd hono yn ei ufudd-dod, efe a FEDYDDIWYD, cymaint o bwys ro'ent ar y BEDYDD, fel na feiddiau aros am awr hebddo, na wnai ei oedi hyd oleuni dydd.

Oddiwrth yr holl esiamplau uchod, ar gorchymynion sy'n y'nglyn a hwy, gwelwn mai Bedydd oedd yr ordinhad trwy ba un y cymhwysid, neu y drws trwy ba un y derbynid pawb a gredent, ac a edifarhaent, yn ddeiliaid eglwys neu deyrnas Dduw, ag y caent faddeuant o'u pechodau, wedi

hyny derbynient addewid o'r Yspryd Glân, dyma'r ffordd y deuent yn feibion ac yn ferched, a phan ddeuent i'r berthynas hon rhoddai Duw Yspryd ei Fab a'r lêd yn eu calonau, yn llefain Abba Dad.

Mae'n wir fod yr Yspryd Glân wedi ei dywallt ar dŷ Cornelius cyn eu bedyddio ; ymddengys hynny yn angenrheidiol er dangos i'r Iuddewon crediniol, fod gan y Cenhedloedd hefyd hawl i'r Efengyl, nid wy'n meddwl y gallasai un ddawn na gallu dynol, na dim llai na gallu gwyrthiol dynu ymaith ganolfyr y gwahaniaeth, a chymodi'r ddwy genedl yn un deyrnas i Dduw trwy'r groes, a llâdd y gelyniaeth trwyddi hi. Mae'n amlwg mai 'r Cenhedloedd oedd y blaid grediniol y tro hwn, ac feily tywalltwyd yr Yspryd arnynt, Ond nis gwn i am un esiampl gyffelyb drwyr holl ysgrythyrau, am neb yn derbyn yr Yspryd Glân, nac addewid o hono, cyn eu bedyddio.

Ond wedi dywedyd cymaint a hyn am y deyrnas yn ei sefydliad boreuol, ei hordinhadau, trwy ba rai y delent iddi, a'i chynydd, &c.

Yn nesaf dysgwn wers newydd, (ar mwyaf anhawdd eu dysgu debygaf o'r cwbl,) ac nid newydd chwaith, ond mae mor amlwg yn yr ysgrythyrau ac un o'r lleill a enwyd ond bod yn ddiduedd. Ac maen debyg y caf wrthwynebiad mwy yn y gosodiad hwn nac un arall, pe bae waeth er hyny, rhaid dyweyd y gwirionedd hwn yn gystal a'r lleill, a dymunaf arnoch grynhoi eich holl resymau cadarnaf, yw wrthbrofi os gellwch, onidê r'wyn meddwl y prawf y maen tramgwydd hwn bob Eglwys, ïe bob crefyddwr hefyd sy'n yr oes hon, ond rhoddi iddo chwareu têg : mae'n debyg y gelwir fi yn bur anrhygarog am y gosodiad canlynol, er ei fod yn unol a'r gwirioneddau dwyfol, â rheswm dynol, â phob arferiad gwladol, ïe fe seliwyd y gwirionedd o hono gan yr Yspryd Glân yn ddiau.

Dyma yw, na ddychrynwch ! Ni chymhwysau hyd yn nod yr ufudd-dod perffeithiaf i'r holl ordinhadau neb byth yn aelodau o'r deyrnas hono, ïe, ni roddai y cyflawniad manylaf o'r holl ddyledswyddau un hawl i ddoniau a bendithion yr yspryd, oddieithr, gweinyddu yr ordinhadau hyny hefyd, gan, a thrwy, Un ac oedd yr awdurdod briodol hono ganddo. Ni chai y cyfan o honynt yr effaith briodol, heb fod y swyddog wedi derbyn ei genadwri oddi wrth y Brenin yn uniongyrchol, neu gan rai o'i weision oeddynt wedi derbyn eu cenadwri oddiwrtho, a chael y sêl freiniol. Ac nid yw'n bosibl trosglwyddo yr awdurdod a roddwyd i un swyddog, er cymhwyso neb arall i'r un

swydd: nis gall neb honni hawl i weinyddu mewn un swydd, trwy'r awdurdod a roddwyd i arall (oddigerth iddo dderbyn cenadwri ac awdurdod iddo ei hun yn bersonol;) ddim mwy nac y gwnae cael y *license* a roddwyd i ryw un o'r hên bregethwyr er's blynyddau, gymhwyso y neb a'i caent hi, i weinyddu yn ei swyddau Eglwysig ef wedi ei farw.

Mae eisiau bod yn fanwl gyd a'r pwnc hwn, canys dyma yr maen prawf sy'n dangos sylfaen pob enwad crefyddol; ac yn profi awdurdod pob gweinidog sydd yn awr, a fu eirioed, neu a fydd byth yn y byd, pa un oes ganddynt yr awdurdod anhebgorol hon! Os felly, pa fôdd y cawsant hi?

Dywedais fod holl drefniadau, a chyfreithiau gwladol, ïe, eu hymddygiadau at eu gilydd, a'u harferiadau eu hunain yn addef yr angenrheidrwydd, o gael awdurdod i weinyddu mewn un swydd; gwladol, Eglwysig, teuluol, neu fasnachol: nid oes modd cario ymlaen ddim yn y byd mewn trefn, heb yr awdurdod hon!

Pe bai rhyw un mewn dyled, ac yn methu talu, ac un o'i gymdogion yn gwerthu ei eiddo i'r uwcha ei geiniog, beth ddywedai y gwr wrtho? Oni ofynai am ei awdurdod i'r swydd hono? Ynteu a ddywedai, nid oes eisiau awdurdod i hyn, canys rwyn cyfrif fy hun yn gwneud fy nyledswydd; onid ydych chwi yn ddyledus i hwn a hwn? ac mae'n gyfiawn i chwi dalu, am ei fod mewn eisiau; beth ddywedech wrth y fath ddyn? Ymddygech atto fel gwallgofddyn, neu y dihiraf o athrodwyr. Ond pe gallai ond dangos fod ganddo awdurdod i hyny yn gyfreithlon ni allech ddweyd gair yn ei erbyn, ïe, pe cymerai bob peth a feddych i dalu: beth a wna y gwahaniaeth mawr hwn? pam y cae y naill ei garcharu am wneuthur yr hyn beth sydd anrhydeddus yn, ïe, yn ddyledswydd ar un arall ei wneud? dim ond bod ganddo y *sel wladol*, yr *awdurdod*. Felly hefyd yn nheyrnas Dduw eirioed, mae'r naill mor resymol a'r llall.

Etto, meddyliwn am ryw wr bonheddig o Gymry a wnaethpwyd yn swyddog gwladol, wedi dyfod i'r swydd yn gyfreithlon, a chael *commission* dan law y Brenin yn profi fod ganddo awdurdod i dderbyn eraill i'r un swydd. Ond ymhen hir wedi iddo farw mae ei fâb neu ryw un arall yn dyfod o hyd i'r commission hwnw, a gweled y sêl freiniol wrtho, meddylient hyny yn ddigon o awdurdod i'w gosod hwy yn yr un swydd, wedi hyny mae rhyw rai ereill eisiau dyfod i mewn i'r breintiau hyny, ac yn clywed y gwr hwnw, yn dweyd ei fod Ef yn swyddog, mae'n gweinyddu iddynt yr hyn bethau a feddyliau yn angenrheidiol; a hwythau heb

edrych yw awdurdod ef, yn honi eu hawl i'r pethau a addawodd efe. Ond pan ddêl y Brenin mae'n gofyn iddynt pwy ydynt, a phwy a'u cymhwysodd i'r swydd hono, maent hwythau yn dywedyd pwy yw'r swyddog, ac iddynt wneud pob peth fel y gorchmynodd efe. Ond O! faint fydd eu galar, a'u syndod pan ddywed y Brenin, am yw weision eu gyry hwy allan, am na ddaethant drwy y drws cyfreithlon, na roes Ef awdurdod i'r gwr hwnw i weinyddu mewn un swydd, ac nad adwaen mo hono chwaith, yna mae yn gorchymyn hwnw i'r carchar fel athrodwr, nid yn unig oherwydd iddo dwyllo eraill, ond am iddo gymeryd yr awdurdod hon yn enw y Brenin heb ei genad ef: oni addefech ei fod yn cyfiawn haeddu hyny? Os addefwch byddai hyny yn gyfiawn ymysg teyrnasoedd y ddaear; pa faint cyfiawnach fyddai i Frenin y Brenhinoedd gospi yr athrodwyr hyny a ryfygant weinyddu ordinhadau ei deyrnas ogoneddus Ef heb ei awdurdod! A addefwch fod gwell rheolau a threfn mewn pethau gwladol, nac sydd yn nheyrnas y Duw byw? Mae rheolau pob enwad crefyddol sy'n gofyn, fod pob swyddog, wedi derbyn awdurdod, cyn gadawant iddynt weinyddu ordinhadau eu heglwysi, yna ddef fod eisiau y fath awdurdod; ac ar yr un pryd yn ei condemnio eu hunain fel athrodwyr, os na allant brofi fod ganddynt yr awdurdod anhebgorol hono, a ofynant gan eu swyddogion, yw rhoddi iddynt! Os nad yw yn yr eglwys, pa fodd y dichon y swyddogion ei chael? Os yw yn ei heglwysi, pam y gwadant hyny? Ac y dywedant nad oes eisiau y fath awdurdod yn awr? Os oes ganddynt awdurdod gyfreithlon i weinyddu ordinhadau teyrnas Dduw, rhaid eu bod wedi ei derbyn oddiwrth y Brenin ryw ffordd: gwelwn nas gall neb gymeryd yr anrhydedd hwn iddo ei hun, oddeithr ei alw gan Dduw, megis Aaron; a chwi a wyddoch ei alw Ef trwy ddatguddiad Duw i Moses. Oes rhyw un o'r enwau crefyddol yn proffesu eu bod hwy wedi eu galw i'r swydd trwy ddatguddiad uniongyrchol? trwy yspryd y brophwydoliaeth? neu ynteu trwy weinidogaeth angel? ! Oh na, nid oes neb yn proffesu fod eisiau y pethau hyn mwyach; ac ni ddywedant iddynt gael eu hawdurdod yn yr un o'r ffyrdd hyn. Pa fodd ynteu y cawsant yr awdurdod anhebgorol hon? Pa fodd? A gawsant hi yn bûr oddiwrth yr apostolion, drwy'r oesoedd maith? Nid oes ond ychydig yn honni hyn; ac ni waeth pa faint a honnant chwaith, onid yw eu teyrnas ar y cynllyn apostolaidd, ac yn dwyn yr un ffrwythau hefyd. Mae'n addefiad cyffredinol fod yr eglwys apostolaidd wedi

myned yn Babyddiaeth. Ai o hono y cafodd yr holl enwadau crefyddol eu hawdurdod? Oh na, gwadant hyny hefyd; ac addef y rhan fwyaf mai hono yw mam putteiniaid y byd. Os felly, gofynaf, pwy yw ei mherched hi?

Ond ni chawsom hŷd i darddiad awdurdod Eglwysi yr oes hon etto, dywedwch gan bwy cawsoch, os gwyddoch. Wel medd rhai, os rhaid dweyd, gan Luther ddôeth a dâ y cawsom ni awdurdod. Nage, "gan Calvin dduwiol y cawsom ni ein dechreuad medd ereill." Ond pwy oedd Calvin, a Luther? Pl'e cawsant hwy eu hawdurdod, ai o'r nef trwy ddatguddiad? Oh na, gwadant hyny! Pa le ynteu? onid swyddogion Eglwys Rhufain oeddynt? Sicr iawn; ac ymneillduasant oddiwrthi: yno y cawsant eu hawdurdod os oedd ganddynt un dim, o ganlyniad os oedd gan yr Eglwys hono hawl i roddi awdurdod iddynt pan oeddynt ynddi; rhaid addef fod ganddi yr un hawl yw hymddifadu o hyny hefyd, pan aethant ymaith: yr hyn beth a wnaeth yn haerllyg ddigon: yna nid oedd ganddynt un awdurdod wedy'n gwelwn! Felly Wesley ddoniol, a Whitfield sêlog a defnyddiol yn eu dydd, pan neillduasant oddiwrth ei mham, hi a gymerodd eu hawdurdod oddi arnynt, os rhôdd ddim iddynt yn gyntaf! Os fel hyn y mae pethau, O gydwladwyr chwiliwn allan yr awdurdod hon, a gwnawn yn sicr pa un a yw genym ai peidio, canys gwelwn y rhyfyg o fentro a'r y gorchwyl peryglus o aberthu â thân dieithr, neu fod yn gyffelyb i feibion y sceva hwnw! Nid wyf yn dweyd nad yw'r awdurdod hon yn y byd yn awr, edrychwch chwi at hynny.

Ond mi a wn gymaint a hyn, fod y Brenin wedi ei feddwl yn anhebgorol unwaith yw weision gael yr awdurdod hon, ïe ni adawai yw Apostolion bregethu ei Efengyl hebddi! wedi hyny rhoddodd yr un genadwri i eraill trwy ddatguddiadau dwyfol, a thrwy Yspryd y Brophwydoliaeth, i fyned allan i bregethu ei Efengyl, ac i adeiladu ei Eglwys neu eu deyrnas, ar y ddaear. Ond ymhen amser maith wedi iddynt hwy feirw, rhai o bobl yr oesoedd wedi hyny, wrth ddarllen y genadwri a roed iddynt hwy yn unig. Pan ddywedodd yr Iesu wrth yr *Unarddeg*. "Ewch i'r holl fyd a phregethwch yr Efengyl i bob creadur," &c. Rhai a geisiant gymhwyso'r genadwri hon attynt eu hunain, a honni awdurdod oddiwrth y genadwri hon (a roed i'r apostolion yn neillduol, ac uniongyrchol,) i fyned allan i bregethwyr Efengyl, i fedyddio, ac i adeiladu Teyrnas i Dduw, (ïe pryd nad oedd oes ganddynt wybodaeth gywir beth yw'r Efengyl, nac chwaith yr awdurdod angenrheid-

iol i hyny, yr hyn a brofir, oherwydd, nad yw y rhai a fedyddir ganddynt, na hwy eu hunain yn derbyn y bendithion hyny pa rai oeddynt nodweddau penaf y saint, neu ddeiliaid teyrnas Dduw.

Os gwir ydyw eu hathrawiaethau hwy, pam nad ymgeisiant at y doniau addewedig hyny, a'r arwyddion hyny â *ganlynent* y saint? Yr un achos na chesglir grawn oddiar ddrain, na ffigys oddiar Ysgall, yw nad ydyw yr arwyddion hyny yn canlyn crefyddwyr yr oes hon, a hyny o herwydd eu bod yn ddieithriaid, ac estroniaid.

Mae'n amhossibl i neb arall byth gael un gronyn o awdurdod i weinyddu'r ordinhad leiaf, drwy'r awdurdod hono a roddwyd i'r apostolion: ond er mor afresymol yw yr athrod hyn, mae'n arferiad mor hên a chyffredinol, nes mae llawer o ddynion doethion mewn pethau eraill yn methu gweled y rhyfyg o hono, er fod pob esiampl, a gorchymyn drwy'r Bibl yn gwahardd, ïe pob rheol wladol, teuluol, a phersonol yn dangos y ffolineb o dreisio commission neb.

Ond meddyliaf fod y darllenydd, (fel pawb arall o'r bron) mewn syndod yn gofyn, Beth! a ydych chwi yn dyweyd nad oes neb o holl bregethwyr, duwiol, a doniol yr oes hon, wedi eu galw gan Dduw i'r weinidogaeth? nad oes neb or hên dadau sêlog a doniol hyny sydd wedi gwneud cymaint o ddaioni trwy bregethu'r efengyl ar hyd eu hoes, wedi eu cynysgaeddu a'r cymhwysderau angenrheidiol i hyny?

Na cham ddeallwch fi, nid wyf yn barnu neb, ac maent hwy mor barchus yn fy ngolwg a neb arall, ïe, mae eu teimladau mor dyner yn fy ngolwg a'r eiddof fy hun, rwyf yn eu caru hefyd, ond nid yw cariad yn llawenhau mewn athrawiaeth neb oni fydd yn unol a'r gwirionedd, medd Paul. Ond, rhoddaf chwi ar y ffordd i brofi pob un o honynt yn gywir, ïe wrth ei geiriau eu hunain, a bydd hyny yn ffordd well, a mwy didramgwydd i gael attebiad i'ch gofyniad, felly cewch eu geiriau eu hunain yngwyneb y gwirionedd i ddangos pa un ai gweision yr Arglwydd, ai gweision rhyw un arall ydynt; nid wyf yn amau eu gonestrwydd cydwybodol; ac mae ganddynt sêl hefyd yn deilwng o'r achos goreu, a phe bawn yn dweyd eu bod oll yn gyfeiliornus, ni byddai hyny o angenrheidrwydd yn dweyd eu bod yn myned i dân a brwmstan wedi marw, nac i ryw le poenus iawn chwaith! *h. y.* os na fyddant wedi gwrthod athrawiaeth burach, canys hyn yw'r ddamnedigaeth ddyfod goleuni i'r byd, a charu o ddynion y tywyllwch yn fwy nar goleuni, &c.

A dymar ffordd i gael atteb i'r gofyniad, Ewch at y rhai a alwant eu hunain yn Weinidogion yr Efengyl a Gofynwch a roes Duw ddatguddiad o'r nef, neu genadwri er pan orphenwyd y Testament Newydd; gofynwch a ddarfu yspryd y brophwydoliaeth gyd a'r oes gyntaf o Gristnogrwydd, neu a oes angen am y fath, ynghyd a doniau rhag grybwylledig yr Yspryd Glân yn yr oes hon? oes angen am weinidogaeth angylion yn awr? neu a ydynt hwy yn credu fod yr holl bethau hyn wedi ei cymeryd ymaith o'r byd am byth? ac os na ddeuwch o hyd i ryw rai na welais i monynt, eu hattebiad cyffredinol fydd, fod y bibl yn cynwys digon o'r pethau hyny, ac er pan grynhowyd yr ysgrythyrau fod datguddiedigaethau, a gwyrthiau wedi darfod ar y ddaear! fod Yspryd y Brophwydoliaeth wedi gorphen ei waith, ac nad oes gweinidogaeth angylaidd er hyny, am nad oes mwyach ddim o'i heisiau ar yr oes oleu hon! ïe cewch rai mor sêlog a'r rhai hyny yn nyddiau yr apostolion, troent ddyn o'r synagogau pe proffesai eu crefydd hwy; a phe cai rhyw un genadwri oddiwrth Dduw trwy Angel, neu ryw ffordd arall, ni chai braidd fenthyg eu capeli yw thraethu! Ond mae'n ddâ gallu dweyd fod rhai yn y wlad etto, (er mor Phariseaidd ydyw) a roddant eu tai i weision anfonedig Duw i draethu eu cenadwri. Ond pan ofynwch i'r bobl uchod pa fodd y galwyd hwy eu hunain i bregethu? neu pwy a'i cymhwysodd i weinyddu ordinhadau tŷ Dduw? pa fodd y cawsant eu cenadwri? nis gwyddant pa atteb i roddi, nes o'r diwedd pan fethant ddangos un mâth o awdurdod, nac un hawl o un lle arall, dywedant mae'r Bibl a roes genadwri iddynt, gan ddywedyd "Ewch i'r holl fyd a phregethwch yr Efengyl," &c.

Felly cewch weled fod pob un ar na chafodd ddatguddiad oddiwrth y Brenin ryw ffordd, trwy ei lais ef, neu trwy ei weision arddeledig, yn gweithredu dan awdurdod a roed i eraill yn bersonol; ac wedi eu marw hwy, mae y naill ôes ar ôl y llall yn dwyn eu swyddau, ac yn lladratta eu hawdurdod. A phan ddaw y Brenin attynt, Efe a ddywed, Pedr yr wyf yn ei adnabod, a Phaul a adwaen, ond pwy ydych chwi? nis adnabum chwi eirioed, ni anfonais chwi, ond dywedasoch nad oedd eisiau i mi lefaru yn eich dyddiau chwi, ni cheisiasoch erioed mewn ffydd am ddatguddiad, ac ni roddais innau'r un i chwi? a phan lefarais wrth eraill yn eich dyddiau, chwi ai gwawdiasoch am dwyllwyr, neu wallgofiaid, ac a'u herlidiasoch am iddynt dystiolaethu y pethau a orchmynais iddynt! Ewch ymaith oddiwrthyf, canys bum newynog, ac ni roesoch i mi fwyd, yn noeth, ac ni'm dilladasoch, yn glâf ac yngharchar, ac nid ymwelsoch

a mi, yn ddïeithr ac ni'm cymerasoch i mewn. Yna gofynant, mewn syndod. "Pa bryd Arglwydd y darfu i ni wrthod gwneuthyr yr un o'r pethau hyn? Yn gymaint nas gwnaethoch i'r un o'r rhai lleiaf hyn fy mrodyr (ond eu galw yn dwyllwyr am dystiolaethu yr hyn a amlygais iddynt) nis gwnaethoch i minnau." Ond rhag bod rhy faith yn y traethawd hwn rhaid gadael pwnc yr *awdurdod* yma, gan obeithio cael hamdden cyn hir i helaethu arno.

Yn awr sylwn ar y deyrnas yn ei ystâd sefydledig, pa un a fwynheid y bendithion addewedig, ac a oedd yr arwyddion hyny yn canlyn Iuddewon a Chenhedloedd ymha le bynnag y gwelid teyrnas Dduw ymhob ocs o'r byd. Mae Paul yn ysgrifenu at amrywiol Eglwysi a phersonau fel y canlyn, Sef, 1af,—at Eglwys Dduw yn Corinth. 2il, At y rhai a sancteiddiwyd Ynghrist Iesu. 3ydd, Y rhai a alwyd i fod yn saint. 4ydd, Y rhai hyny *oll ymhob man sydd yn galw ar enw* ein Harglwydd ni Iesu Grist. 1 Cor. i. A dyma a ddywed wrthynt, sef *pawb sy'n galw* ar yr enw hwn 1 Cor. xii. 1. "Yr awrhon ynghylch doniau ysprydol frodyr ni fynwn i chwi fod heb wybod," ac yna ychydig adnodau ymlaen efe a ddywed, "Eithr eglurhâd yr Yspryd a roddir i *bob un* er llesâd."

Canys i un y rhoddir trwy'r un Yspryd, ymadrodd doethineb; ac i arall ymadrodd gwybodaeth trwy'r un Yspryd: ac i arall ffydd trwy'r un Yspryd; ac i arall ddawn iachau trwy'r un Yspryd; ac i arall wneuthyr *gwyrthiau*, ac i arall *brophwydoliaeth*; ac i arall wahaniaeth Ysbrydoedd; ac i arall amrywiaeth tafodau, ac i arall gyfieithiad tafodau. A'r holl bethau hyn *mae yr un*, ar unrhyw Yspryd yn eu gweithredu, gan rannu i *bob un* o'r neilldu, megis y mae efe (sef Crist) yn ewyllysio. Canys fel y mae y corph yn un, ac iddo aelodau lawer, a holl aelodau 'r un Corph, cyd byddont lawer, ydynt un corph, felly y mae Crist hefyd. Oherwydd trwy'r un Yspryd y bedyddiwyd ni oll yn un Corph pa un bynag a Iuddewon, a'i Groegwyr, caethion, ai rhyddion; ac ni a ddiodwyd oll i'r un Yspryd. Canys y corph nid yw un Yspryd eithr llawer. Os dywed y troed, am nad wyf law, nid wyf o'r corph, ai am hyny nid yw efe o'r corph. Ac os dywed y glyst am nad wyf lygad, nid wyf o'r corph, ai am hyny nid yw o'r corph? Pe yr holl gorph fyddai lygad, pa le y byddai y clywed? pe y cwbl fyddai y clywed, pa le byddai yr arogliad?"

Eithr yr awrhon Duw a osododd (pwy a gymer ymaith ynteu) yr aelodau *bob un* o honynt yn y corph fel yr ewyllysiodd efe, canys pe byddant oll yn un aelod pa le byddai y corph? (addef pawb nas gallai fod.)

Awrhon llawer yw'r aelodau ond un corph. Ac ni all y llygad ddweyd wrth y llaw, ni raid i mi wrthyt, na'r pen chwaith wrth y traed ni raid i mi wrthych chwi, eithr yn hytrach o lawer, yr aelodau o'r corph, y rhai a dybir eu bod wanaf ydynt anghenrheidiol, a'r rhai a dybiwn ni eu bod yn amharchediccaf o'r corph, ynghylch y rhai hyny y gosodwn fwy o barch, ac y mae ein haelodau anhardd yn cael chwaneg o harddwch. Eithr ein haelodau hardd ni nid rhaid iddynt wrtho. Eithr Duw a gyd dymherodd y corph gan roddi parch ychwaneg i'r hyn oedd ddiffygiol, fel na fyddai anghydfod yn y corph, eithr bod i'r aelodau ofalu yr un peth dros eu gilydd. Eithr chwychwi ydych gorph Crist ac aelodau o ran. A rhai a osododd Duw yn wir yn yr Eglwys, yn gyntaf apostolion, yn ail prophwydi, yn drydydd athrawon, yna gwyrthiau, wedi hyny doniau iachau, cynorthwyâu, llywodraethau, rhywiogaethau tafodau.

Eithr *deisyfwch y doniau gorau*, ac etto yr wyf yn dangos i chwi ffordd dra rhagorol. Gwelwn fod yr apostol, (13 adn.) yn llefaru wrth yr holl Eglwysi, a phawb a eilw ar enw Iesu Grist,pa un bynag ai Iuddewon, ai Cenhedloedd ymhob man, a phob oes o'r byd, ac yn dangos fod corph Crist yn cynwys llawer o aelodau, pa rai oeddynt oll wedi eu bedyddio trwy'r un Yspryd i'r un corph, ac yn meddianu amrywiol ddoniau, gan y naill un ddawn, ar llall ryw ddawn arall, yna mae yn gwahardd yn benodol i un aelod yn meddianu un ddawn, byth ddweyd wrth un aelod fyddau yn meddianu un ddawn arall, nid rhaid i mi wrthyt ti!

Wedi profi hefyd uwchlaw pob dadl fod yn anhebgorol angenrheidiol fod apostolion, Prophwydi, Ffangylwyr, bugeiliaid, ac athrawon, ynghyd ac Yspryd y brophwydoliaeth, gwyrthiau, doniau iachau, ar holl ddoniau eraill a enwyd cyn gallai corph, neu Eglwys Crist fod mewn bodoliaeth mewn un oes, na man ar y ddaear, pa un bynag ai Iuddewon ai cenhedloedd, caethion ai rhyddion.

Wedi gorchymyn mor benodol na byddaï i un o'r aelodau ddweyd am un o'r doniau hyn, ni raid i ni wrthyt ti. Mae'n dweyd yn eglur nas dichon perffeithio y corph neu'r Eglwys heb yr *oll* o honynt, a phe collid rhai o honynt nis gallai Eglwys Crist fod; mwy nac y gallai corph fod heb aelodau: wedi cadarnhau y gosodiad hwn mor fanwl ac eglur, mae'n sicrhau trwy lw, mai y Duw mawr ei hun a osododd y doniau a'r swyddau hyn yn ei Eglwys, ac nad oes hawl gan neb, ie nis gall neb eu diddymu, heb ddiddymmu Eglwys, neu deyrnas Dduw: mae'n eu hanog i ddeisyf

y doniau goreu. Yn y benod nesaf mae'n eu hanog i ddilyn ffydd, gobaith, a chariad, heb ba rai, ni lesâ'r holl ddoniau eraill iddynt ddim: mor wrthwyneb i'r hyn a ddywed yr oes hon (sef ei fod yn ei hanog i geisio, ffydd, gobaith, a chariad yn unig, ac yn lle y doniau hyny) Mae 'r Apostol (yn y bedwaredd benod ar ddeg a manau ereill,) yn eu hailanog. "Dilynwch ar ol cariad a deisyfwch ddoniau ysprydol, ond yn hytrach fel y *Prophwydoch!* Nid fel y dywed rhai, mai pregethu a feddyliau yr apostol wrth Brophwydo, ond ar iddynt gael Yspryd y Brophwydoliaeth yr hwn a addawodd Crist, sef i fynegu iddynt y pethau oedd ar ddyfod; *rhag-ddweyd* yw prophwydo, hanesyddiaeth wedi ei gwyr droi: dweyd yr hyn a fŷdd, fel y dengys hanesyddiaeth y pethau a fû o'r blaen: Prophwydo a wnaeth Agabus pan rag-ddywedodd rwymiad y gŵr oedd bia y wregys hono. Prophwydo a wnaeth y Prophwydi hyny a ragddywedasant y newyn a ddeuai ar Iudea. Os yr un peth yw athrawiaethu a Phrophwydo paham y gesyd Paul gymaint o wahaniaeth rhyngddynt yn yr adn. 6, o'r 14 Ben.? Addfod llefaru a thafodau yn wŷrth. Ond dywed Paul fod prophwydo yn fwy gwyrth hefyd, 5 adn. Nid yw'n dweyd faint mwy gwyrth, ond digon mwy i brofi nad pregethu a feddyliai wrth brophwydo."Act. xxi. 9. Gwelwn fod merched yn Prophwydo: os pregethu a feddylir, pam y dywed Paul, "Tawed eich mherched yn yr Eglwysi?" Att. Oherwydd, ei fod yn meddwl Prophwydo yn wahanol iawn i bregethu, fel y dywed yn 39 adn. o'r benod uchod, "am hyny frodyr byddwch awyddus i Brophwydo, ac na waharddwch i lefaru a thafodau dïeithr; ac felly dywedaf finau." Yn Eph. i. 7. Mae'r apostol yn gweddïo ar i Dduw roddi iddynt Yspryd doethineb a DATGUDDIAD trwy Iesu Grist. Yn y 4 ben. Mae'n dweyd mae UN corph sydd, ac un Yspryd, megis ac y'ch galwyd yn un gobaith y'ch galwedigaeth.

UN Arglwydd, UN ffydd, Un bedydd, UN Duw a thad oll, yr hwn sydd goruwch oll, a thrwy oll, ac ynoch oll. Eithr i bob un o honom y rhoed gras yn ol mesur dawn Crist. A bod Crist wedi esgyn i'r uchelder, gan gaethiwo caethiwed, a rhoddi rhoddion i ddynion, os gofynwch beth roddodd? dyma ydynt. "Ac efe a roes rai yn Apostolion a rhai yn Brophwydi, rhai yn Efangylwyr, a rhai yn fugeiliaid ac athrawon." Os gofynwch i ba ddiben? Cewch atteb yn adn. 12. "I berffeithio y saint, i waith y weinidogaeth, i adeilad corph Crist." Yna roedd y Duw perffaith yn meddwl y rhoddion hyny yn anhebgorol er cario ymlaen waith ei weinidogaeth, yn yr oes hono: gwadu hyn fyddai dweyd i Dduw roddi rhoddion afreidiol, ac addef yr angen-

rheidrwydd am danynt er cario ymlaen y weinidogaeth pryd hyny, yw addef fod yr un angen yn awr er gwneud yr un peth! neu, o'r ochr arall fod y rhoddwr o honynt wedi cyfnewid ei feddwl! a rhaid hefyd (er profi y gellir wneud hebddynt) ddinystrio sylfaen Philosophi; neu rhaid addef fod yn rhaid cael yr un achos er dwyn yr un effaith yn awr. Os addefir eu bod yn angenrheidiol er perffeithio y saint pryd hyny, hyny fyddai dweyd eu bod yn anhebgorol er perffeitho y saint yn awr. Neu ynteu fod modd achub rhai pobl, a pherffeithio rhai saint ar lai o drafferth, a gwahanol ffŷrdd i eraill! ac nis gellir dweyd hyn canys nid yw Duw yn dderbyniwr wyneb, mae ei ffyrdd ef yn gystadl i bawb, yna rhaid cael yr un moddion i berffeithio pawb a berffeithir yn ddiau. Wel meddwch yn o syn f'allai! Ydych yn dweyd y dylasai y rhoddion hyny fod yn yr Eglwys o hyny hyd heddyw, er bod yr un Eglwys? Nid wyf fi yn dweyd y naill ochr na'r llall yn hyn, ond a Paul y mae a wneloch yn awr, ac y mae yn atteb y gofyniad yna yn blaen iawn. Pa hyd roedd y swyddau a'r doniau uchod i barhau Paul? *Hyd oni ymgyfarfyddom ni oll yn undeb y ffydd.* (Yw'r holl chwe' chant o enwau crefyddol yn undeb y ffydd? *Yna*, ond nid cyn hyny, mae'r swyddau hyn i ddarfod) a gwybodaeth Mab Duw, (a gyrhaeddasom hyny etto?) Yn ŵr perffaith (nid mor berffaith etto, aïe?) At fesur oedran cyflawnder Crist.

Gof. I ba ddiben y rhoddwyd y swyddau, a'r doniau hyn yn yr Eglwys Paul? Att. Fel na byddom mwyach blantos, yn bwhwman, ac yn cael ein cylch arwain oddiamgylch a phob awel dysgeidiaeth trwy hocced dynion, a chyfrwystra y rhai sy'n cynllwyn i dwyllo. *Yr effaith* pryd hyny oedd *undeb*, yr *effeithiau* presenol yw *rhaniadau*! yn hollol groes onide? *Prawf anffaeledig* ynteu fod rhyw *achos hollol groes yn peri hyny!*

Oddiwrth yr hyn a ddywed Paul, yn y fan hon, mae'n amlwg yn y lle cyntaf, nad oedd yn bosibl pryd hyny (nac o ganlyniad un pryd arall) berffeithio y saint heb y swyddau a'r doniau hyn: yn nesaf, nis gellir cario ymlaen waith y weinidogaeth hebddynt: drydydd, nis gellir eu cadw yn undeb y ffydd; ond eu cylch-arwain a gânt a phob awel dysgeidiaeth, &c. Yn awr, Oh Gymry! gofynaf, a rhoddwch chwithau atteb boddhaol i'r cydwybodau effro sydd ynoch,—Pa le mae'r fath athrawiaeth yn cael ei phregethu yn awr yn eich mysg, ac a bregethodd Paul yma? Dyma gynllyn o deyrnas Dduw, a'i efengyl, os credwn Paul, ie y Paul hwnw sy'n dyweyd, yn Gal. i. 8 adn. "Pe bawn ni, ïe pe bai angel o'r nef yn efangylu i chwi amgen, nac a

efengylais i chwi, bydded anathema." Ydych chwi yn ddieuog yn hyn? Beth yw'r achos na chlywem bregethu efengyl fel hon ar hyd mynyddoedd Cymry, fel y gwnaeth Paul ei hun, debygaf? A ellwch brofi eich bod wedi cael efengyl arall? os felly, gan bwy?—Oh na, mae pawb yn pregethu Paul yr oes hon; ond neb yn pregethu ei athrawiaeth ef: ac, rwy' yn meddwl bod llawer yn credu'r Bibl pan ynghauad, ac yn gwadu y gwirioneddau sydd ynddo; neu eu hysprydeli i feddwl yr hyn a ewyllysiant hwy iddo fod: ac nis gwn na wnaDeist gredu'r Bibl,os caiff ei ddeonglu fel y myno!

Gan fod y swyddau a'r doniau uchod, yn cael yr effaith briodol, sef eu dwyn i undeb y ffydd, a'u hadeiladu yn deml sanctaidd i'r Arglwydd; yna mae'n eglur o'r ochr arall, *vice versa*, mai 'r achos o'r holl raniadau, ymryson, cynfigen a chynhwrf; ïe, mai'r prif achos o'r gwahanol grefyddau, amrywiol ffyddiau, Arglwyddi, bedyddiadau, ac ysprydoedd, a bod y deall wedi ei dywyllu, eu bod wedi dieithro oddiwrth fywyd Duw, trwy'r anwybodaeth sydd ynddynt, ydyw, am eu bod yn ymddifad o'r swyddau, a'r doniau, ac arddeliad yr Yspryd Glân, yw eadw a'u cynnal yn rhwymau a thangnefedd y ffydd sydd Ynghrist Iesu: a gwirionedd dwyfol yw, pe bai yr amrywiol enwadau, a'r pleidiau, sy'n y wlad, yn ufuddhau yr efengyl, y caent y doniau a'r grasusau addawedig; ac wedi cael yr un Yspryd hwnw, a'r swyddau hyny, yr adeiledir hwy yn un corph, ymhurdeb y sancteiddiolaf ffydd; a chanddynt ond "un Arglwydd, un ffydd, un bedydd," ïe hwy a gynyddent Ynghrist, ym mhob peth, yn yr hwn mae'r holl gorph wedi ei gymhwyso ynghyd, a'i wneuthur yn deml neu deyrnas sanctaidd i'r Arglwydd.

Ond tra gallo cyfrwysdra dynion eich perswadio, nad oes eisiau y pethau hyn yn awr: yna gallant eich cylch arwain oddiamgylch a phob awel dysgeidiaeth. Ac yn awr, ddarllenydd, rhaid tynnu tu ar diwedd, er mor bleserus yw chwilio am deyrnas Dduw, megis y sefydlwyd hi yn nyddiau'r apostolion. 'Roeddwn wedi bwriadu wrth ddechreu, i fod yn fyrach; ond gan ei fod yn fatter mor newydd yn yr oes hon, (canys ni welais air am y fath deyrnas, yn yr iaith gymraeg, ond yn y Bibl) meddyliais yn oreu glirio y gwrthwynebiadau amlycaf o'r ffordd, a gosod y gwirionedd mor eglur y gallaf i ddeall pawb a'i darlleno; canys mae o bwys i bawb wybod fath un yw teyrnas Dduw. fel yr adnabyddom hi pan ei gwelwn; canys ni welwn mo ni byth ar un dull,na chynllyn arall, nac yn amrywio mewn un dim i'r cynllyn, neu'r ddefod apostolaidd; ïe ammhosibl iddi fod yn eglwys Crist, heb fod fel y gosododd hi ei

hunan, a'i bod yn cynwys, apostolion a phrophwydi, yng-hyd a holl ddoniau yr Yspryd.

Ar ol i mi chwilio dros lawer o wledydd y byd, ac ynysoedd hefyd, ni welais ymysg eu holl grefyddau ddim a aeth a'm bryd a'm serch fel y deyrnas ogoneddus y buom yn sôn am dani, gyda'r fath bleser a difyrwch. Onid ewyllysiech fod yn ddeiliad o'r fath deyrnas a hon? Ond mor groes i'r darluniad hon mae teyrnasoedd yr oes hon drwy'r byd. Yn lle apostolion a phrophwydi, gau-athrawon, y rhai a bentyroedd dynion iddynt ei hunain. Yn lle doniau'r Yspryd—doethineb Duwinyddion ac Esponwyr; yn lle *un* Yspryd Glân, llawer o wahanol ysprydoedd; a phob sect ei hyspryd ei hun, ac ambell sect ddau neu dri. Yn lle ordinhadau o osodiad Duw, traddodiadau y tadau; yn lle, *gwybodaeth* o'r gwirionedd, eu dychmygion eu hunain, hwyrach, a gobeithio! Tŷb, yn lle datguddiad. Rhwygiad yn lle undeb. Amheuaeth yn lle ffydd.; cynfigen yn lle cariad; Meddygwr, yn lle arddodiad dwylaw'r henuriaid er iachau'r cleifion; chwedlau yn lle y gwirionedd; tywyllwch yn lle goleuni; drwg am dda, a da am drwg—mewn gair, Anghrist yn lle Crist; a hyn i gyd yn gyflawniad llythrenol o lawer o brophwydoliaethau, a rag-ddywedasant y byddai i nerthoedd y byd hwn ryfela yn erbyn y saint, a'u gorchfygu, fel y cyflawnid geiriau Duw trwy ei weision am y Dirywiad hollol oedd i gymeryd lle pan amlygid dyn pechod, &c. 'Roeddwn wedi meddwl dangos y Dirywiad, neu syrthiad ymaith (y sonir gymaint am dano) oedd i gymeryd lle cyn y DYDDIAU DIWEDDAF, yn ddiwedd y traethawd hwn, ond byddai rhu faith, a gall y darllenydd ddisgwyl mewn un arall ddangosiad plaen o'r hên Brophwydoliaethau, ac yn enwedig o'r Testament Newydd, fod ymadawiad hollol i fod oddiwrth y ffydd hono unwaith a roddwyd i'r saint, ac y cymerid teyrnas Dduw oddiar y ddaear: a disgrifiad manwl o'r sefyllfa mae'r byd Cristnogol ynddo yr oes hon; ac nid hyny yn unig,ond danghosir hefyd yn nrŷch cywir yr ysgrythyrau, y pethau *ofnadwy*, *rhyfedd*, *gogoneddus*, ac *ardderchog* sydd ar ddyfod yn y dyddiau hyn, yr ydym ni yn byw ynddynt, a hyny i bob manylrwydd, gyda phob sicrwydd; am hyny o Gymry, eich llygaid chwithau a welant bethau rhyfedd; torrwch reffynau rhagfarn; rhyddhewch eich hunain oddi wrth lyffetheiriau traddodiadol yr oes hon; ymbarotowch i chwilio am y gwirionedd; mae'r amser yn dyfod pryd na saif noddfau celwydd, canys mae Duw'r nefoedd wedi deffro, megis o ddystawrwydd oesoedd; mae ei fraich gadarn yn estynedig i wneuthur ei waith, ei ddieithr waith!!

Ganwyd .

Joseph Giles . Mawrth y 5

am aner awr wedi 5 yn y bore

yn y flwyddyn . 1845 .

ar ben y Garn fach . yn Nant

y Glo . yn Swydd Mynwy .

